A Poet, and Tables of
many dishes
or
A Collection of Poetry
Carols, and Odes of
Jonathan Hughes

Pengwern near Llangollen
in Denbighshire.

Printed at Shrewsbury
by S. Prys,
in the year
1778.

# BARDD, A BYRDDAU

## AMRYW, SEIGIAU

NEU

## Gasgliad O Gynghanedd,

SEF

Carolau a Cherddi a Chywyddau, o waith *Jonathan Hughes*, Pengwern wrth *Langollen* yn *Sir Ddimbych.*

---

Llawenydd, yw cynnydd, cân,  
Dawn hoen, dyna ei hanian.

---

Gwir Iaith, awen faith, Iawn fodd,--Ymgeisio,  
Am gyson, ymadrodd,  
Pawb a'i Chwennych, rwydd-wych, rodd  
Ond rhyw ben, a'i Derbyniodd.

---





Argraphwyd yn y *Mwythig* gan STAFFORD PRYS,  
yn y Flwyddyn 1778.



# Y RHAGYMADRODD.

FY ngharedigol wladwyr, o Ardaloedd Cymru, wele fi 'n anfon attoch y Llyfr hwn, o'm llafur aniben, yr hwn y Crybwyllwyd am dano er ys Llawer o ddyddiau, o'r diwedd daeth y bwriad i ben. Ac nid wyfi 'n ameu na fydd ef yn dderbyniol gan y rhai fydd yn hoffi canu; mae 'r ddawn hon yn y byd er y dechreuad, ac a bery hyd y diwedd. Canys mae hi 'n un o'r celfyddydau di ddiben; ond fe ddweudir fod Caniadau 'r oes yma 'n waeth ac yn llai eu fylwedd, na rhai 'r oes a basiodd, a gwir yw, mewn un ystyr, o herwydd ein bod ni yn fwy difraw ac esgeulus am ddefyddio ein Talentau, ond am y ddawn nid yw hi ddim byrrach nag o'r blaen, Canys megis yr oedd yn y dechreu mae 'r awr hon ac y bydd; ac mae pob talent yn ynnill ychwaneg atti wrth ei harferu, mae gennyf i brawf amlwg o hynny, pan fyddwyfi ysbaid hir o amser heb ganu, bydd raid ei chodi hi fel o'i bêdd i ail ddechreu: O blegyd mae pob dawn yn Diflannu ac yn gwywo pan gaffo pethau eraill le yn y meddwl. A phethau eraill a orfu i mi eu croesawu yn fy meddwl agos drwy fy holl oes, yr hyn a barodd i'm cynhanedd, fod mo'r anghywir a musgrell ac yw hi: Anffyddlon ac anufudd a fum i i'r gelfyddyd, wedi i mi yn y dechreuad ei hoffi a'i dymuno 'n fwy na dim a allai 'r byd ei fforddio immi.

Ac y roedd gan i awyddfryd cyn i mi fedru canu dim mewn fylwedd, roeddwn hefyd yn meddwl fod yn ammhofibl i mi byth wneud gwaith cyffelyb i'r hen Brydyddion, ac fellu. byddwn yn aml yn fy nghyfri fy hun yn ffôl, fod yn myfyrio dim ar beth mo'r ddieithr ac allan o'm cyrredd, y meddyliau hyn a gynhwyfais i pan oeddwn ynghylch 15 oed ac o hynny hyd yn 20, pan oeddwn o ddeutu 20 oed dechreuais gael gwell gafael ar y gwaith, mi wnawn rigymmau yn fy nhyb fy hun, ac oedd yn ganu go hynod, ac y roeddwn yn dechreu rhyfeddu oblegyd fy ngwaith, tybio 'n ddiau, yr awn i yn Brydydd, a hynny oedd fy naturiol ewyllys; yfgryfennu rhai rheffynnau o gân a'u danghos i eraill, a chael molach mawr a llawer o wag ogoniant gan y wlad, mynd ymlaen ymhellach o nerth hynny, a gwneuthur gwedd chwerrig neu anterliwt, cael mwyfwy o folest, erbyn hyn roeddwn i wedi mynd yn ben Bardd; er na wyddwn i y pryd hwnnw am Farddoniaeth, na rheolau 'r gelfyddyd na fylweddol ffurfiadau 'r gynghanedd, nac enaid y gerdd: Ddim cyftal ac y gwyddai llawer dyn na fedrai ganu dim.

Ac yn awr yn 57 oed, a chwedi gweled llawer iawn ychwaneg, a dal fulw ar amrywiol wrth-ddrychau Gramadegau, a geirlyfrau, gan dybio wrth hynny yr awn i 'n ddoeth yn y gelfyddyd, ac o'r diwedd mi aethym gan ddoethed a hyn; mi wela nawr nad wyfi na phrydydd, na chymro, nac yfgolhaig, nid wyfi Brydydd o herwydd i mi efgeulufo 'r ddawn oedd ynofi, canys nid oedd gennyf mo'r cymmaint o ffydd ac fydd gan yr aderyn. Fel y dweudodd rhyw un,

> Ond dedwydd yw 'r aderyn,
> Ni hau ni fêd un gronyn,
> Ni wna fe orchwyl yn y byd,
> Ond canu hyd y flwyddyn.

Ond

Ond llafurus a thrafferthus a fum i ynghylch llawer o bethau drwy fy holl oes, ac wyfi ettto;

Ac nid wyfi gymro, am fy mod yn gymmydog rhy agos i'r faefon, canys hen arfer cymmydogion ydyw benthygio oddiar eu gilydd, fellu finnau wrth ganu, mi fenthycciais fwy o eiriau Saefonaeg nag a dalaf i fyth adref.

Ac nid oes mor achos i mi fod yn yfgolhaig am na chefais i fawr addyfg yn Ieuangc, ac etto drwy yr holl wendidau hyn, y rwi 'n rhyfygu rhoi llyfr o m 'fgrifenyddiaeth a'm gwaith fy hun, i fynd i wyneb holl Gymru; ond er hyn rwyfi 'n rhoi fy enw am Brydydd, ac y mae 'r wlad yn fy ngalw i fellu fel y mae pob clyttiwr yn cael i alw 'n Dailiwr, pa faint bynnag a fydd rhyngddo ef a bod.

A chwaith nid wyfi 'n gwadu 'n gwbl mo'r gelfyddyd ac nis gallaf hynny, canys mi wn fwy arni nac a ŵyr pawb yn gyffredin.

Ac wele fi yn rhoi fy ngwaith dan ei fai, gan ddeifyf nawdd y rhai a'i derbyniant, am fy efgufodi pan welont fy ngwalliau, nid oes yngallu neb ddwyn allan o'i dryfor amgen na'r hyn a fo ganddo; ac fel y ddweudodd un, aur nag arian nis meddaf eithr yr hyn fydd gennyf a roddaf i chwi.

Edrych ar feithder y gelfyddyd hon yn ei pherffeithrwydd, a dyfnder gwreiddyn yr iaith Gymraeg, a'm lleihaodd i, onid te roeddwn i yn gryn fardd, pe cowfwn i fynd ymlaen hyd wyneb iaith gyffredin y wlad, yr hon fydd yn Gymraeg ac yn Saefnaeg oll Blith traphlith, yn awr mae 'n wradwydd gennyf eifiau mod wedi cadw 'r iaith yn well canys cadw 'r iaith yw 'r peth mwyaf o alwedigaeth prydydd, un peth a'm cymmhellodd i roi fy Llyfr allan oedd o'r achos fy mod i wedi ei addaw ef o'r blaen, a pheth arall hefyd oedd oblegyd fod fy holl waith i ar wafgar hyd y wlad, ac nid oedd gan

i

i fy hun o honaw ond ychydig iawn: A phan gefais i beth o'r gwaith ynghyd, yr oedd ef yn fwy amherffaith nac ar y cyntaf, peth wedi ei gam ysgrifenu, peth arall yn gandryll ac yn fudr, ac arnaw bob mâth o annhrefn, fel na allasai neb mo'i ddewygio oni bae i mi gymheryd y gwaith arna fy hun; a bydded hysbys i rhai sydd wedi dysgu rhai o'm Carolau neu 'r Cerddi, ei bod wedi newid llawer o eiriau ag odlau a rhai penhillion cyfa; am na chefais i ond darnau o rai o honynt, ac fellu y rhai a ddysgodd o'r blaen, pan weloch hwy etto chwi gewch ychwaneg o newydd.

Ac am enw neu deitl y llyfr, nid fy nyfais i yw hynny, ond mi fum yn myfyrio peth am enw arnaw ac nid oeddwn yn cael yr un enw cymmwys nes imi gyfarfod a brawd, fel finneu 'n enw prydydd, sef William Roberts o'r pentref wrth gorwen, yn Sir Feirionydd, ac mi ofynnais iddo a safai efe, yn Dad Bedydd im llyfr i, ac ni ommeddodd ei gymwynas, ac efe anfonodd at frawd arall (fel y ceid dau dyst,) un Rowland Hugh Bardd o drêf Rhywaedog, ar Ddau hyn a ddanfonasant chwech o enwau, i mi gymryd fy newis o honynt; un oedd Duw-fawl dryforfa neu brif ganiadau 'r oes brefenol, un arall oedd maen prawf neu 'r Tyst ffyddlon, un arall oedd crŵth awen-gerdd, arall oedd Tywalltiad Blwch o ennaint, ac un arall gemmwaith awen o blwyf Collen, ac yn ddiweddaf Bardd a Byrddau amryw Seigiau Roedd pob un ar goreu.

Ond bod rhai enwau, 'n rhy enwog,
A minnau am cân am enw côg.

Fellu mi ddewisais y diwaetha gan ei fod yn gymhwysach na'r lleill, wrth ystyried y gwaith ei fod o amryw destynau, ac nid allasi lai na disgwyl barn gan rai am roi cymmysg-waith, o'r fath allan

ond

ond ystyried y cyfryw, fod Traul fawr yn mynd i'w hargraphu, ac nas gallwn i mo'u gwneud yn unig at feddyliau un rhyw neu fâth a'r bobl rhag na chawn eu gwerthu, a minneu 'n cymryd y draul arna fy hun i gyd, fellu os bydd rhai heb gael ei bodloni ar un mann, troant ddalen a hwy a gant newid eu faig.

Am nad yw pob Taflod genau yr un Archwaethiad, y mae pob bwyd yn cael ei fwytta, ag os oes dim daioni yn y caniadau a gyfrifir yn oreu yn y llyfr hwn, fe eill y dyn gwagfaw daro wrtho, er iddo brynu 'r llyfr er mwyn y mafwaidd fydd ynddo, ag onid oes daioni yn y Carolau, a rhai Cerddi fydd ynddo, gwell a fafai ei fod yn wagedd ei gyd; Fellu profwch bob peth, a deliwch ar yr hyn fy dda, ond pa fodd medd rhyw un y daliwn ni yr hyn fy dda? Nid yw pren drwg yn dwyn ffrwythau da.

*Atteb.* Gwir yw hynny, etto chwi godwch ddryll o arian o'r yfgubion neu o'r dommen, ac a gymrwch fêl o'r ceubren budr a llychwinog, mae 'r Lili ymyfg y drain, ar gwenith ymyfg yr Efrau, Brenhin Ifrael ymyfg y dodren, a Christ yn bwytta gyda 'r pyplicanod ar Pechaduriaid; efe ofynnod i'r Phariseaid pam na wnaent y pren yn dda a'i ffrwyth yn dda neu yn ddrwg a'i ffrwyth yn ddrwg, ac nis gallent ei wnenthur yn yr un o'r ddau; ac nis gellir etto, canys dyn yn y dechreuad a fwyttaodd o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg, a dyna 'r ffrwyth y mae ef yn ei ddwyn hyd y dydd hwn; fellu nid yw dyn na phren da, na phren drwg yn unig; ond pob un o'r ddau ynghyd, eithr Duw fydd yn gwahanu 'r glân oddiwrth yr aflan, ac yn neillduo 'r duwiol iddo ei hun; canys nid oedd *Efau* a *Jacob* ond cyffelybiaeth o'r ddwy anian fydd mewn dyn,

mae

mae 'r efeilliaid hyn etto yn ymryson yngroth y meddwl, ac un o honynt sydd i gael yr enedigaeth fraint a'r fendith, mae dau yn y maes, dau yn yr un gwelŷ, (yn nes attad nag yw dy grŷs di, sydd am dy gefn) un a gymherir a'r llall a adewir: A'r sawl a fedro ymwrthod a'r drwg ac Ethol y da, ymenŷn a mêl a fwytty, ac nid eill y drwg gyffwrdd ag ef

Os. bydd ichwi ddal sulw yn rhai o'r Carolau cewch ychwaneg o eglurhâd am y pethau hyn.

Mae genif lawer iawn ychwaneg o ganiadau y basẁn yn gwyllysio ei bod yn y Llŷfr hwn ond nid oedd mo'r lle i'w cynwys, o blegyd i fod (ond odid) yn ormod o bris, o herwydd hyn y rwy 'n bwriadu casgliad arall o gerddi, canys mae gennyf nifer mawr o honynt gymmaint ac ellir gynwys mewn Deunaw neu 20 o bapur lennau ac fe fydd rhaid i mi gael cynnorthwy ymlaen llaw, at y llyfr hwnnw onid te nid â 'r gwaith ddim ymlaen.

Yn awr nid oes gani ond cyflwyno fy Llyfr hwn i ddwylo y rhai a'i derbyniant, dan obeithio y bydd ef yn gymeradwy ganddynt, hyn yw dymmuniad eich dieithr gyfaill,

*JONATHAN HUGHES.*



 W Carey

## *Englynion* yn *hysbysu* am *Achau 'r* Llyfr, *a'r Byrddeu* a'r *Seigiau*.

1. GWelwch, edrychwch, drwy Achau, Fy Llyfr,
Fall afrwydd ganiadau,
O fôn-cyff hen, ond coffau,
Coed Merddin, caed y 'myrddau.

2. Mein-llin Taliesin yw 'r 'tlysau, gwnnion,
Wawr gannaidd lieiniau,
O gell Homer, clwm pér, clau,
Doeth disglaer, daeth y dysglau.

3. Hwyrach, daw rwgnach, dewr egni, yma,
Ammorth, herwydd i mi,
Yrru rhan, ar y rheini,
O Seigiau nawr, sy gan i.

4. Etto, am feiddio, rwysi, a'r Awen,
O ryw sy Rheini,
Fal corr, yngafael Cawri,
Amdrwch hoen, ymdrech a hi.

5. Mae i mi, wedi ei Adel, ol traed,
Eu troiadau dirgel,
Ceir Briwsion Tawlion, ond hel,
Byrddau Achau Beirdd uchel.

6. 'M Seigiau, nodau, ofnadwy, siwr yw,
Sy ar rai 'n llêd aswy,
'S oes sowr-lwngc i saws f' arlwy,
Anturiaf a henwaf hwy.

7. Bara Haidd, beraidd, bur-yd, a berthyn,
I borthi 'r newynllyd,
Tew-glem Tammaid sŷch taglyd,
Sy'n burion i fodlon fyd.

8. Ffrwythau, gwyrdd lysiau, gleision, pob hedydd,
Pob pedwar Carnalion,
Gyrra ŷch bràs, ger eich bron,
Ochrau Teirw 'n chwartorion.

9. Ymbell ben mul, cul, cwla, a gyrchwyd,
O'r gwarthau 'n *Samaria*,
Moethus at hon ni 'mwthia,
Mewn byd tost, mae a'i bwytta.

10. Wrth raid, i enaid, byw anian, ceiff rith,
O ffrwythau gwlad *Canaan*,
Mêl, a Llaeth archwaethan,
A mawr fudd, o amryw fan.

11. Seigiau, mewn mannau, mae mynnod, drwy
Rhag i'r deillion wybod, [dwyll,
I'r cynfab 'dae nhw 'n canfod,
O chwith y cae 'r fendith fod.

12. Bras-gelloedd, gwleddoedd, Arglwyddi, brysiais
Hel briwsion y rheini,
Y meiddiai gŵn ymddigoni,
Dyna Saig, ordeiniais i.

13. Mae cig oen, pe doen, a'i 'dwaeno, 'n isel,
Pob naws yn ei guddio,
Pob uchel olwg drwg drô,
Drwy drwch, trawst, edrych trosto.

14. Mae cnau gronynnau Grawnwin, byw Adar,
A bwydydd cyffredin,
Bara dŵr, bryd i werin,
A phryd o ddail, ffrydoedd o win.

15. Seigiau pob cangau cyngan, o mwydtŷ,
Mae etto Saig egwan,
Cawl bresych, crŷch, o'r crochan,
'Bartoais, yn berwi i'r tân.

16. At hon, daw digon, o redegwyr, Clau,
Lle clywant ei ſawyr,
'Mr Chwant y cnawd, a'i ſawdwyr;
Rheibiant, a llyſant, hi 'n llwyr.

17. Saig Trachwant, nwyfiant, hoen ofer, a gwlêdd
Yr Arglwyddes pleſer,
Cig yn eu pig, Ciniaw pêr,
A'r ſeppin roir i Swpper.

18. Praw 'r ſeigiau, byrddau, di ball, a'r dyſglau,
P'run orau, praw un arall,
Oni ddoi, yno 'n ddiwall,
Cymro llon, cymmer y llall.



GWel yma ddanghosiad o feiau 'r argraph, canys lle gwelych air o'i le, heb allu gwneud rhefwm o honaw yn y gynghanedd, tro i'r ddalen hon, ag di gei eglurhad o'r cyfryw air, wrth rif y Carolau, neu 'r Cerddi, a rhif y Penhillion; ond am lythyren goll, nid wyfi 'n ameu na ddaw pob darllenydd o hyd iddi wrth y rhefwm, heb chwilio am dani :---- Gwel yn y Carol cyntaf a'r 8fed pennill, air fel hyn, Ynu; ag fellu 'n feius, *yn un*, y dylai fod; a'r 9ed pennill, mae eisiau 'r gair *mae*; yr ail carol a'r 15 pen. *ddilys*; y v. ed car. 1 pen. *fel*; vi. car. 4 pen. *Ifori*, a'r 5 pen. *llawen*; vii. car. 4 pen. *drwg falais*; y viii. car. a'r 9 pen. *folach*; a'r 11 pen. mae 'r gair *orphwys*, allan o'i le, fef yn y llinell nefaf, ix. car. 5 pen. *cydfod*; xi. car. a'r 4 pen. *gwaetha*; xii. car. 13 pen. *gwiwdeg*; xiv. car. 5 pen. *a'r eiddo*; xxi. car. 2 pen. *na*; a'r 7 pen. *ddel*; xxv. car. 6 pen. *gwedi ei gael*; xxviii. car 4 pen. *rhoed mae ganddo siarad siwr*; xxix. car. 5 pen. *a'r cwmmwl*; xxx. car. 2 pen. *edifaru*; xxxii. car. 12 pen. mae 'r gair *corlan*, allan o'i le dos heibio iddo, canys ar ymyl y ddalen y dylasai fod, i amlygu 'r gair *cail*; xxxix. car. a'r 2 pen. *doeth*; a'r 5 pen. *folest*; *roed*; a'r 6 pen. *bydol*, *I'w troi*; xlii. car. 1 pen. *iddi*; yr ail rhan y gerdd gyntaf, 2 pen. *brysg pe llyfnen*; a'r 7 pen. *reffynne*; xxx. cerdd. pen. 11, *rhed*; xxxii. cerdd. pen. 11, *flodeu*; xxxiii. cerdd. pen. 2, *bloedd*; xxxiv. cerdd. pen. 17, *a'i enaid*. Y iii. cywydd, *gwnniad* yw 'r gair yn lle twnniaid; ynghynwyfiad y iv. cywydd, gweledigaeth y creadur-iaid, fef y Llew a'r Llwynog y March a'r Dylluan.



## Carol Plygain ar King's Farewell.

I.

1. DEFFROWCH o gyſgu a boreu godwch,
Dyma 'r boreuddydd ymddibruddwch,
Dihunwn bawb o'n cwsg yſprydol,
Down i fywyd anian fywiol,
Dyma 'r dydd ar wawr a gode,
I rhai fu'n cyſgu nghyſgod ange,
Dan gwmwl du, a gorchydd cry,
Yn dallu eu hwynebe,
Diſgleiriodd haul cyfiawnder gole
I dynnu adwyth eu heneidie,
Danghoſodd delw Duw ei hunan,
Ymherſon dyn yn blentyn bychan,
Daeth ir byd, ar frawdol fryd,
Cadd febyd yn ſaban,
Dattododd nerth gweithredoedd Satan,
Er bod ei agwedd fel dyn egwan.
2. Fe'n rhwymodd Sattan wrth ei wllys,
Trwy ddoethineb ſarph oedd gyfrwys,
A Chriſt a'n rhoddodd oll yn rhyddion,
Trwy ddiniweidrwydd clommen wirion;
Cyflawnai 'r yſgrythrau 'n gyttun,
A'r addewydion ddweudodd ynddyn,
Mai cywir had, y wraig drwy rad,

A ſigai ſiad gyndyn,
Y ſarph arw oedd ſur offeryn,
Mewn llwyr gilwg yn llaw'r gelyn,
Aberthodd iawn dros ein pechode,
Ar y groes drwy loes ei ange,
Gorchfygodd lu, pyrth uffern ddu,
Agorodd fry, ei gaere,
I'r ſawl ſy'n credu 'r efengyl ole
Ac yn ei dilyn fel y dyle.
3. Ond gwylied neb er dim ryfygu,
Drwy gam dybio eu bod yn credu,
Wrth fynd ym mlaen mewn hyder gnawdol
Heb gredu 'rioed mor ffydd griſt'nogol,
Mae Criſt ei hun yn cywir dyſtio,
Y bydd cadwedig pawb a gredo,
A chyda hyn, mae'n dweud yn dynn,
Am ddyn na fynn, mo'no,
Oni bydd e'n un o'i euddo,
Mewn gwiſg briodas addas iddo,
Ac na ddanſonwyd mo'no 'n fugel,
Ond at golledig ddefaid Iſr'el,
Sy a'u baich yn drwm, fel y plwm,
Yn orthrwm gyſtuddiol,
Dyna 'r dynion gwir grediniol,
Sy am ymwared yn ymorol.
4. Hawdd yw genym heddyw ganu,
A dweud fod Criſt wedi 'n gwaredu,
A gwir yw hynny fe'n gwaredodd,
Ond pwy gredaſant i'w ymadrodd,
Fe a waredodd bob gwir griſtion,
Ac ni ddamniodd mo'r Iuddewon,
Achubai 'r byd, oll i gyd, fei prynai ddryd ddigon,
A gwerthfawr waed ei gywir galon,
Drwy daer gynyg ei fargenion,
A'i waed oedd werthfawroccach ganwaith,
Na dim arall drwy ei frenhiniaeth,

A dyna 'r pam, yn ddi nam,
Y mae damnedigaeth,
Ein bod ni 'n gwrthod iechydwraeth;
Wedi ei dwyn uwch pob drudaniaeth.
5. Mae 'n hyfryd genym glywed cysur,
Fod Duw 'n drugarog wrth bechadur,
Pa fath drugaredd a ddymunem,
Mund i baradwys fel yr ydem,
Er bod Duw yn hollalluog;
Nid allai fod ddim mwy trugarog,
Na chwfu 'r gwaed, o'i ben i'w draed;
Pan wnaed e'n weinidog,
I dderbyn cyflawn wobr cyflog;
Dros garcharorion rhwym cadwynog;
Duw trugarog ydyw 'r Arglwydd,
Ped fae ni yn uffern yn dragywydd,
Fe wnaeth ei tan, ym mhob man,
I'n dwyn dan ei adenydd,
O's damnedigaeth ini a ddigwydd,
Yngwaith ni 'n hunain yw'n dihenydd.
6. Nid all un enaid fod gadwedig,
Ond trwy enw Crist yn unig,
Na thrwy grist ond wrth y geirie,
A ddweudodd Crist ei hun o'i ene,
A dyma amod Crist yr Arglwydd,
Sy yn yr efengyl ini 'n rhybudd,
Ymwaded dyn, ag ef ei hun,
I'w galyn yn ufudd,
Coded, cymred groes a cherydd,
Chwerw bwn i'w chario beunydd,
Dyna 'r ffordd y bu 'r hen dadau,
Yn teithio i *Ganaan* wiwlan olau,
Ol traed y praidd, aeth rhag y blaidd;
Y fanctaidd wir feintiau,
Nid oes un ffordd ond hon i ninnau,
O's awn i gyraedd *Sion* gaerau.

 7. Hyffordd

7. Hyfford lanwaith i'r ffyddloniaid,
Ydyw hon i gadw eu henaid,
Nid oes un drwg weithredwr arni,
Na gwas angall yn ei sengi,
Cyfyng yw, a chul a chynwys,
I bawb a rodio i baradwys,
Pob duwiol wr, aeth hyd ddi'n siwr,
Drwy dan a dwr, dyrus,
Ni cheiff un dyn wrth foddio 'i wllys,
Mor gafael arni 'n gyfeiliornus,
Ag er nad oes ond un ffordd ole,
Mae amryw swn o ymrysone,
A hyn ni phaid, gwel pawb eu plaid,
Wen euraid, yn ore,
Rhai 'n dweud ny ni, ag eraill ninne,
Sy yn yr eglwys iawn arogle.
8. Ag nid yw Duw dderbyniwr wyneb,
I ddewis plaid nag un cymundeb,
Ond o bob cenedl rhai a gymer,
A fo'n gweithredu gwir gyfiawnder,
Gwir bechaduriaid a dderbynie,
Gwaethaf pennaf mwya eu pynne,
Os atto 'r ant, ganddo cant,
Faddeuant yn ddie,
Ond nid i ddilyn eu pechode,
Ond i dduwiolach da feddylie,
Nid yw'n casshau 'r pechadur mwya,
Nag yn caru 'r pechod lleia,
A phechod dyn,
Sydd ynddo nglyn, ar ddau ynu cyfa,
Ond oes ir Arglwydd fawr gyfyngdra,
I dorri rhwymiad y rhai yma.
9. Ow! Clyw bechadur calon galed,
Mae Crist yn cynyg itti ymwared,
Y mae fe 'n barod i dy gymryd,
Os wyti a chalon i ddychwelyd,

Y mae fe'n d'alw er pan i'th ganed,
I'th gadw 'n ddyfal gyda'i ddefed,
I fywyd rhodd, bu farw o'i fodd,
Fe dalodd bob dyled,
I'th gael ath ddewis, oth gaethiwed,
Pa ham yr wyt yn damnio d' ened,
Mae gwyfg briodas barod ganddo,
Na chais dy hunan mor ymglyttio,
Er maint dy bwn, fe ath gymer, gwn,
Ow! tyr'd at hwn, heno,
Am dy gael yn briod iddo,
'N y ftat yr wyt, os troi di atto.
10. Mawr iawn yw'r golled fod pechadur,
Yn dilyn pechod cwrs ei natur,
Crift er ei fwyn yn colli ei fywyd,
Ag ynte 'n colli ei enaid hefyd,
Os eiff yr enaid gan y cythrel,
Nid oes ir Iefu ond gwobr ifel,
A digon gwael yw ei fael,
Ped fae fe 'n cael gafel,
Ar ein calonnau beilchion uchel,
Iw gwneuthur nhw iddo ei hun yn demel,
Er iddo 'rwymo a figo fatan,
Ag ynnill pawb o'i deyrnas allan,
Er iddo o hyd, orchfygu 'r byd,
Drwy ei benyd, ei hunan,
A chondemnio pechod aflan,
Ychydig ddefaid fy yn ei gorlan,
11. Ei holl ogoniant a ddiofgai,
A gwarth a gwradwydd yr ymwyfgai,
Fel y diofgem ni 'n holl bechod,
Ag yr ymwyfgem a'i deilyngdod,
Fe rodiodd yn ein cnawd brycheulyd,
Fel y rhodiem ninnau yn ol ei yfpryd,
Ag oni wnawn, hynny 'n iawn,
Pa fodd y cawn wynfyd,

'Does ond yr Arglwydd glan wyneb-pryd,
A dynn ein beie i'n dwyn i'r bywyd,
Ceisiwn droi o'n buchedd aflan,
Cowleidiwn Iesu 'r hyfryd faban,
Mae 'n rhad mae'n rhydd, i'w gael heb gudd,
I ddwylo ffydd wiwlan,
Duw dyro ffydd a newydd anian,
Llwydda 'n henaid lladd ein hunan. *Diwedd.*

1753.

## Carol Plygain ar King's Farewell,

II.

1. DOWCH yn nes wir bechaduriaid,
Clywch wirionedd clych yr enaid,
Rhown yn deg wirionedd dygyn,
I'r sawl a allo ei wrando a'i dderbyn,
O'ni dderbynir hwn yn benna,
Nid rhyfeddol yw hyn yma,
Canaan, iaith, ymadrodd maith,
Nid dyna 'r waith gynta,
Y darfu ei wrthod na'r ddiwaetha,
Hyn yw tueddiad hen blant Adda,
Am fod gwirionedd Crist yn erbyn,
Doeth synhwyrau 'r sarph gas gyndyn,
Hon etto byth, o'i thywyll nyth,
Atto chwyth wenwyn,
Gwyliwn goelio llais y gelyn,
Sydd yn ein mynwes heddyw am ennyn.
2. Mae geiriau Grist ei hun yn g'ledion,
Fel drain yn pigo cnawdol galon,
A'r un geiriau 'n glustog sanblu,
I gywir ffyddlon weision Iesu,

Yr

Yr un gwirionedd ond ei ystyried,
A yrrodd *Pharo* 'n galon galed,
Ac a feddalhadd, y rywiog radd,
Rhag cael ei lladd, mewn lludded,
Y *Ninifeinaid* wedi eu glywed,
A ddarfu ei dderbyn yn ddi arbed,
'R un gair a laddodd *Judas* leidyr,
Ac a fywhadd y lleill o'i frodur,
Yr un haul sydd, ac etto fydd,
Yn toddi ar ddydd tyner,
Y cwyr pan dwymo i feddal dymer,
Ac yn caledu 'r clai r un amser.
3. Er bod Crist yn borth i'r bywyd,
I'r duwiolion atto a alwyd,
Mae'n faen tramgwydd a chraig rwystyr,
I'r drygionus cyfrwys natur,
Y fe ydyw 'r maen sydd wedi wrthod,
Gan adeiladwyr ar y tyfod,
Ac etto efe, ydyw congol gre,
A sylfaen preswylfod,
A phen ei demel mewn da amod,
Hon yw ei braidd, a'i anwyl briod,
Pan gadd ei eni yn nyddiau *Herod*,
Nid oedd neb yn medru ei 'nabod,
Ond pawb yn ffoi oddiwrtho 'n troi,
Gan ruthro i roi iddo athrod,
Nid oeddynt abal fyth o wybod,
Fod Crist mor isel wedi osod.
4. Tebygol yw fod rhai yn pregethu,
Yn *Judea* 'r dyddiau hynny,
Ond ni wnai neb rhag colli ei enw,
Bregethu Crist mor wael a hwnnw,
Fe orfu i'r Arglwydd anfon seren,
I'w bregethu fe or ffurfafen,
A gosod hon, ger ei fron, i'r doethion wyr deithio,
Ond te ni fedrai rhain mor coelio,

Heb ddim croes dyniad fod Crist yno,
Ag etto nis gwyr neb ar aned,
Y mha galon mae fe'n gowled,
Oni rydd, Duw olwg ffydd,
Ini yn nydd ei nodded,
I edrych ar yr oen diniwed,
Union ddyfais yn ei ddefed.
5. Mae Crist yn groes i gnawdol natur,
Ymhob doethineb pwngc ag ystyr,
Ni ddichon neb gael addysg ganddo,
Nes mynd mor ffol a phlentyn sugno,
Ag anhawdd gan ddoethineb natur,
Fynd yn ffol i nol gwir synwyr,
Ail ddechre eu hoes, dysgu Crist groes,
Gwers nad oes, mo'i dwysach,
Ni fedrai *Paul* un wers amgenach,
Ag nid aethai un gronun doethach,
Holl ddoethineb Crist yr Arglwydd,
Oedd dysgu 'n wastad ostwngeiddrwydd,
Gostyngai ei hun, i ddysgu i ddyn,
Ddilyn ei ddelw,
Ar sawl ostyngo ir llwch ar lludw,
Dyna 'r cristion union enw.
6. Mae pawb am chwennych bod yn gristion,
Neb am gario 'r groes yn ffyddlon,
Pawb am deyrnas Crist ai goron,
Neb am ymladd a'i elynion,
Pawb am fynd ir ne yn y diwedd,
Neb am ddilyn buchedd sanctedd,
Beth a dal hyn, Duw ni fynn,
Na gwenwyn nag anwir,
Na llid na gwawd na geirie segur,
Ond union ddeiliaid yn addolwyr,
Dyma 'n harfer ni bob plygain,
Canu moliant ini 'n hunain,

Y rhai a leisio 'n deg, o fronddi freg,
Bydd naw neu ddeg yn union,
Yn canmol cegai 'r dynion coegion,
Heb fawr yn cofio 'r Arglwydd cyfion.

7. Ag er bod weithiau rai 'n ei gofio,
Does neb yn offrwm calon iddo,
Neb yn fymud gyda *Simeon*,
I gowleidio 'r Baban gwirion,
Na neb ai cymer ef yn ei freichie,
Yn oreu dodren i fynd adre,
Och! nag oes, mae ganddo groes,
I bob moes a mafwedd,
Does neb eill yftyn un o'i fyfedd,
I wneud i'r gowled wen ymgeledd,
Er hyn mae blys dychmygion cnawdol,
I addoli delw Duw anfeidrol,
Ond Duw gwael ddrych,
Mewn prefeb ych, pwy edrych am dano,
Addoli plentyn wedi rwymo,
Ni fader cnawd ymoftwng iddo.

8. Gofynnwn i'n cydwybod effro,
Pa fath attebiad a gawn i yno?
Beth pe byddai 'r Arglwydd Iefu,
Heddyw 'n faban yn y beudy?
Gyda 'r ychen mewn cadache
Pwy o honom a'i haddole?
Pa ddyn byw, ai gwelai 'n gyw,
A ddweuddai Duw wrtho?
Heb neb or byd yn rhoi iddo groefo,
Ond roedd raid iddynt ei wradwyddo,
Os gallwn ni adde r gwir yn groyw,
Dyna 'r modd y mae fe heddyw,
Er nad yn llun, daiarol ddyn,
I neb un, iw nabod,
Gwir olwg ffydd fydd yn ei ganfod,
Yn cael ei daflu a'i werthu a'i wrthod.

9. Hi a'i gwel e yn noeth ag yn newynog,
Yn chwylio heddyw am galon ddrylliog,
Ag yn dlawd ac yn ſychedig,
Yn chwylio am yſpryd cyſtuddiedig,
Y mae fe 'n cerdded am bechadur,
Blinderog, llwythog yn dwyn dolur,
Droſto 'n friw, yn goch ei liw,
O' i ſawdl i'w goryn,
Yn methu rhodio a'i faich yn rhydyn,
Nid oes neb arall yn ei dderbyn,
Ond am y rhai ſy a chalon gyfa,
Yn wych o ddynion iach ddi ana,
Pa beth a' wna, y rheini a,
Meddyg da, moddus,
Tra bo pechod yn bleſerus
Nid yw 'n anrhydedd ond i'r rheidus.

10. Pell yw'r byd mewn anwybodaeth,
Och ni thron' at iach athrawiaeth,
Ceir clywed llawer yn pregethu,
Yn erbyn dyſg yr Arglwydd Ieſu,
Dyma bregeth yr holl dyngwyr,
Ac a'u profant hi o'r yſgrythyr,
Gan ddweud yn gall, bu ar beder ball,
Nod angall o ddyngu,
Er hyn fe gafodd ras yr Ieſu,
A gwir ydoedd garw ei wadu,
Ond gwylia ſiarad mewn yſgafnder,
Mae'n hyn o deſtyn ddyfnach dwyſter,
I olchi 'r haint, gad weld rhyw faint,
O ddagrau Saint *Peder*,
Cyn eſguſodi llyſon ofer,
Praw ei dammaid chwerw dymer.

11. Dyma eſgus y gwyr meddwon,
Meddwdod *Lot* a *Noah* gyfion,
Dyſgu pechod yr hen dadau,
Heb ddyſgu dim o'u dwys weddiau,

Ag

Ac efgus eraill fynd o'r lleidyr,
Oddiar y groes ir nefol gyfur,
Gwrandewch yn glau, 'roedd yno ddau,
Gan angau 'n 'r un gongol,
Un a fu'n gall, af llall yn benffol,
Ac ni bu farw 'n edifeiriol,
Er mynd or lleidr i baradwys,
Fe fethodd rhai gwyr goneft cymwys,
Proffefwyr cred, o *Pharaifed*,
Fe wrthoded y rheini,
Oedd gan onefted a degymu,
Y mintys gwrddion llyfiau 'r gerddi.
12. Yr unfed awr arddeg medd rhywun,
I winllan Duw mi geifiaf gychwyn,
Fel pe byddai ar ei ddwylo,
Iddo ei hunan addo honno,
Ond gwrando fel mae Duw 'n dy atteb,
Yn ol ei farn a'i wir ddoethineb,
Heddyw dewch, a nefhewch
Gwrandewch fi 'n llefaru,
A gwyliwch eich calonnau gledu,
Rhag na lefarwyf etto foru,
Heddyw yw 'r dydd i dderbyn gwobrwy,
Yn awr yw 'r amfer cymeradwy,
Crift ni ad gladdu tad, cyn dwad i'w galyn,
Na dweud ffarwel wrth ffrins na pherthyn,
Mewn cwyn ac achos cyn ei gychwyn.
13. Dowch i ymofyn bawb o ddifri,
Am lwybyr glanwaith y goleuni,
Llwybr cul a llwybr caled,
Heb ond ychydig yn ei gerdded,
Er bod y byd i gyd o'i gyrre,
Yn mynd i'r nefoedd ar eu geirie,
Nid a fyth faint, i'r ffafiwn fraint,
Heb echryfhaint, a chroefe,

A llawer iawn o orthrymdere,
A thywallt ymaith amal ddagre,
Er mai hawdd yw gwag hyderu,
Mae 'n rhaid cael cryfder Duw cyn credu,
Nid ydyw gras, Duw mor fas,
Na theyrnas yr Iesu,
Yn sefyll ddim mewn geiriau fellu,
Ond mewn gwir wllys nerth a gallu.

14. Nyni sy'n tybio mewn ysgafnder,
Yr awn i'r nefoedd bob rhyw nifer,
A Christ yn dweudyd mai praidd bychan,
Sydd mewn gwir-lwydd yn ei gorlan,
Ag nad oes le ond braidd ychydig,
Ir cyfiawn wr fod yn gadwedig,
Gweddio raid, yn dybaid,
A Christ o'n plaid, hefyd,
Ag ymladd dwys am bwys, y bywyd,
A tharo i lawr biccellau tanllyd,
Rhaid torri 'r cedrwydd talion cedyrn,
Y bwa dur ar barriau heiyrn,
A dryllio 'n rhes, y pyrth pres,
A thorri 'r tres, fel treisiwr,
Cyn gallu diangu o faglau 'r heliwr,
Sy'n tanu rhwydau, ar ffordd pob rhedwr.

15, Chwi wyddoch oedran Crist yn hysbys,
Nid rhaid mo'i adrodd yn gyhoeddus,
Gadawn ir pethau hyn fynd heibio,
A chanwn ganiad newydd etto,
Pa fodd y gallwn fod yn ffyddlon,
Weision Crist a boddio dynion?
Pob Cristion byw, a gadd ddawn Duw,
I ganu rhyw gwynion,
Ymogeled rhag iw galon,
Ganu i foddio yr anufuddion,
Canwn bawb ar gerdd soniarus,
A phob rhyw weddi 'n bur awyddus,

Duw tynn ni yn ol, o'n ffyrdd sy'n ffol,
A'n pennau ir ddol dillys,
Fel glan ddyweddi pura d' eglwys,
I gwrdd priod fab gardd paradwys. *Diwedd.*
*Y* CAROL *hwn a wnaed, ag a ddatganed yn* Llangollen *y flwyddyn*, 1751.



## CAROL Plygain ar y fedle fawr.

### III.

1. DEUWN canwn a chlodforwn,
Cyd ymdeimlwn ag ymgrymwn,
A gwir addolwn Dduw,
Pob perchen ened, a chlust agored,
Fel gwir oen diwair, doed, gwrandawed,
Derbynied air Duw byw,
Nad awn fel delwau maen a physt,
A chanddom glyst heb ystyr,
Neu 'n ail i'r neidar fyddar fain,
Na wrendi ar sain y swynwyr,
Clywn archiad drwy gariad i ddwad bawb at Dduw,
Mae'n galw 'n gry groyw, cysodwch feirw 'n fyw.
2. Mae yma feirwon laddedigion,
A gwahangleifion cloffion deillion,
Byddarion, mudion, mall,
Mae yma ddiffyg, mawr am feddyg,
Ar briw 'n guddiedig anweledig,
I'r di rym lloerig dall,
Fel y mae ein hyfprydoedd bod ag un,
Dan erwyn wydyn adwyth,
Fel esgyrn meirwon sychion synn,
Ar wyneb dyffryn diffrwyth.

A

A rhan gnawdol naturiol, mewn ſiriol ſywiol ſyd,
Ar yſprydol dragwyddol, yn farwol ac'n ſud.
3. Nyni ſydd yma 'n byw rymuſa,
Dan farn oeddym feirw yn Adda,
Pan bechodd gynta i gyd,
Pechaſom ynddo r amſer honno,
Ag ynte ſy ynom ninne etto,
Yn pechu heno o hyd,
A llais y drwg mewn gwg i gyd,
Sy'n dweudyd yn y galon,
Ni fyddwch chwi etto feirw chwaith,
Er torri 'r gyfraith gyfion,
A ninne wrth ein chwante,
Sy'n blyſio 'r 'ſale fyth,
Dymuniad chwant y llygad,
Sy o'r un archwaethiad chwyth.
4. Da ydyw 'r newydd geni yr Arglwydd,
Yn Ninas Dafydd, ar blygeinddydd,
Hyn ſydd lawenydd mawr,
Faint well ym etto o'i eni fe yno,
Onid yw fe 'n trigo ynom heno,
A ninne ynddo 'nawr,
A chyn del Criſt i'n mynwes ni,
Mae 'n rhaid ein geni o newydd,
A'i eni ynte 'n faban gwynn,
Ym mhob credadyn dedwydd,
Nid dechre corpholedd na diwedd 'i fab Duw,
Ond mae dechre i'w aelode cyn y bo eneidie byw.
5. Cenhedlir beunydd Griſt yr Arglwydd,
Ym mhob creadur natur newydd,
I'r hynod wirffydd hon,
Y ffydd gatholig lan buredig,
A eſgor arno 'n anweledig,
Mewn cla friwedig fron,
Mae 'n rhaid croeſhoelio adda hen,
A lladd dwy en ei wynniau,

Fel

Fel hyn teyrnasa had y wraig,
Ar wddwf draig y drygau,
Nid a i'r nefoedd byth bythoedd,
Drwy 'r cyfyngderoedd caeth,
Ond shiloh a'r glan ddwylo,
Yn ddyn oddiyno a ddaeth.
6. A'r ffordd y noethlyd hen-ddyn ynfyd,
Mae 'r cleddyf tanllyd etto 'n ysgwyd,
I gadw 'r bywyd byth,
Nid a neb etto i'r ddinas honno,
Ond a gadd ym mywyd Crist ei guddio,
Gan wneuthur yno ei nyth,
Er gwneuthur Adda ynghryfder Duw,
Ni fedrodd fyw 'n ddi feie,
A gwneuthur Crist yngwendid dyn,
Ei ddeddfau ei hun a gadwe,
Does un amser gyfiawnder,
Pan chwilier dyfnder dyn,
Nag un pechod i'w 'nabod,
Yn hanfod Crist ei hun.
7. A chwedi ei eni heb arno frychni,
Bu dan y gyfraith cadd dynn gyfri,
Hon oedd i'w holi o hyd;
A'i di ydyw 'r cywir gwirion geirwir?
Ai 'n feichiau i'th roed i'r drwg weithredwyr,
Cei brynu synwyr drud?
Rhoed llinyn barn yn llawn o bwys,
Cyfiawnder dwys hyd Iesu,
Cadd gwialen *Moesen* ffyrnig ryw,
I gyllwng i'w fflangellu,
Bu 'n diodde eu dyrnodie hi rwyge 'n gwyfe ei gig,
Gwaed gwirion ei Archollion doe'n ffynnon dan ei phig.
8. Chychwi sy'n arfer llyfon ofer,
Mae Crist a'i efengyl ar eich cyfer,
Yn galw 'n dyner dowch,
Cyn troi 'r wyntyll archiad erchyll,

Tyrr

Tyrr hon yn gandryll furiau cestyll,
Du ffrewyll yw deffrowch,
Mae'n bryd galaru ag wylo'n drist,
Anghofio Crist a wnaethom,
Aeth ffurf ein bedydd gyda'r gwynt,
Yn ddwysedd gynt adawsom,
Er llysnion wyddorion annoethion ydym ni,
Rhy brinnion dysgason, yn *Sion*, A, B, C.
9. Duw ddel o ddifri ein hargyhoeddi,
Rym yn baganiaid heb ein geni,
Or yspryd difri ar dwr,
Ag heb wen addas wysg briodas,
Yn clywed arnom fynd ir deyrnas,
Fel Suddas hyn sydd siwr,
Ein clywed son fod uffern ddu,
Am dyngu rhegu a rhwygo,
Tra bo'm heb glywed dim or gwres,
'Dyw 'n talcen pres ni'n prisio,
Er gwybod na cheir cymod,
Heb wrthod pechod byth,
Mae'n gwag hyder goeg hudol,
Yn addo 'r nefol nyth,
10. Medd Crist yn ddifri na cheir fengi,
Mor bur deyrnas baried arni, nes gwir aden dyn,
Gobeithio 'r gore meddwn ninne,
Fod duw'n drugarog dan droi geirie,
'R 'sgrythyre oi lle a'u llun,
Bu raid i Dduw gael cnawd o ddyn,
Cyn bod yn un a nyni,
A rhaid ir dyn gael yspryd Duw,
A ddelo yw addoli,
Addewyd fywyd yr Iesu o hyd ni roes,
Heb blygu ag ymwadu, ag ymgrymu dan y groes,
Oed Crist yn berffaith mewn cnawdoliaeth,
Mil ar unwaith, deg ar bumwaith,

Saith

Saith ganwaith fydd ae un,
Beth yw 'n hoed ninne ynddo ynte?
A ddaeth y Crist hwn i'n calonne,
A'i hynod ddeddfe ei hun?
O's daeth ef yno darfu 'r chwant
Cawn fyw mewn feibiant fobor,
Ond te daw fattan ac a'n llusg,
I feddwi heb ddysg nag ordor,
Ac nid diwrnod i feddwdod,
Yw 'r ddefod hynod hon,.
Dydd pyngcio i'r fawl allo,
Ac i bawb fobreiddio ei bron. *Diwedd.*

---

## Carol Plygain ar y fedley fawr.

### IV.

1. CANTORION dewra fain gyfona,
Pa fawr neges pwy fynega,
Yw 'n gorchwyl ni yma 'nawr,
Pawb a redant ac a ganant,
Heddyw ag enw i roi gogoniant,
A moliant i Dduw mawr,
Yr Arglwydd hael, a'i ddwylo ei hun,
Fo i'n difgyn ac a'n dyfgo,
A genau mwyn i ganu mawl,
Sylweddawl ifel iddo,
Nid gweddus, can felus yn ol ein hwllys ni,
O'n genau gwnawn ganu Duw 'n ol dy fynnu di.
2. Y Mahometan twrc a'r pagan,
Sy wrola eu cariad, i'r alcoran,
A rith addolan Dduw,
Pa faint ym ninne, gwell na nhwythe,

Er llais crwth euraid y 'ſgrythyre,
Tra bo'm mewn bôie 'n byw,
Mae 'n rhaid i'r gwir addolwyr gwiw,
Addoli Duw 'n ddi duedd,
Mewn goſtwngeiddrwydd iſel fryd,
Yn yſpryd y gwirionedd,
Diſgyner ni ar fyrder o'n balchder trowſter trwch,
I 'mgrymmu o flaen Ieſu fel rhai fae'n llyfu'r llwch.

3. Mae ar y doetha o heppil Adda,
Ddifyg, am ddoethineb yma,
A'r cryfa am noddfa nerth,
A'r goreu 'n rhodio eiſie ymendio,
A'r iſel eiſieu ei oſtwng etto,
Rhag iddo ſyrthio 'n ſerth,
[illegible]
Egluro tyſtio 'r teſtyn,
Y medd y ganwyll gwylog hedd,
O fair oedd waeledd forwyn,
O'r teſtyn yſtrayol gwybodol ydyw 'r byd,
Traddodes pob profes, ei hanes ini o hyd.

4. Ein holl garole ni er's blynydde,
Synbal ydynt ſain balede,
Fel clyche o brenie bratt,
Nid ynt feddygon, dyſn archollion,
Ond gwiſgo croen ar eſgyrn crinion,
Fel gwaith athrawon gau,
Pur hyſbys ym ni o Adda hen,
Yn *Eden* a'i droyade,
Cyfarwydd doeth mewn gwledydd pell,
A hurt a muſgrell gartre,
Chwyliaſom, dyſgaſom y peth ni's gwelſom gwn,
Heb 'nabod ein pechod y diwrnod hyn od hwn.

5. Y mae 'r hen Adda heddyw yma,
A'r ſarph gam ellyll a'i cymhella,
I fwytta 'r ſwga ſaig,
Ein gwniau blyſig ſy etto 'n cynyg.

Torri

Torri ffrwythau 'r pren gwarddedig,
Trwy ryfyg fel y wraig,
Cawn weled hyn cyn hanner y dydd,
Mi wn heddyw bydd gan Adda,
Fwy gwaddedigion wrth ei ffat,
O fywaith na'r Mesia,
Rhai Meddwon a gwyr Mamon fy a'u calon yn eu cist,
Er hynny 'n rhyfygu eu bod yn credu Crist.
6. O's eir o ddifri i'w hargyhoeddi,
Rhon ddail ffigus i gyfgodi,
A chuddio eu noethni nawr,
Trwy wneud march gynfas o'r *Mesias*,
A labro ar dwymyn lwybrau *Demas*,
A fuddas ddrwg ei fawr,
Lle byddo Crist gwna galon lan,
Mae fe fel tan y toddydd,
Fel purwr arian llufg ei wres,
Bob alcwm pres, ac efudd,
Fel febon y golchyddion,
Fe ganna 'n wynnioh wedd,
Ei eglwys filwrus, fy'n boenus hyd eu bedd.
7. A ych chwi 'n tybied, bechaduried,
Mai fon am eni Crist yn gowled,
Yn awr a'n gwared ni,
Mae pawb yn coelio 'r hanes honno,
I gnawdio 'n faledd a'i groefhoelio,
A'i friwio 'n wael ei fri,
Fel hun 'roedd *Judas* ddiras ddall,
I hun yn deuall hynny,
Ond eifiau cario calon well,
Mewn dichell gwnae ei fradychu,
Swm Simfan ar amcan,
Bwhwman trwstan trist,
A'r gydwybod heb 'nabod,
Grym cryfder Duwdod Crist.

8. Tystiai 'r apostol, ddyn oedd ddoniol,
Fod yr holl Dduwdod yn gorphorol,
Yn Iesu rasol ryw,
Pan oedd e'n Blentyn ynghroth y forwyn,
Duw tad ydoedd Duw 'r mab wedyn,
Duw 'r yspryd loywyn liw,
Ac etto 'r tri mewn modd di drist,
Oedd yn 'r un Crist mewn undeb,
A llenwi 'r nef a'r ddaiar yr oedd,
Pan ydoedd yn y preseb,
Duw *Isr'el* uwch angel dyn isel yn ei oes,
Duw nefol, yn gnawdol,
Ddyn grasol ar y groes.

9. Mae'n cnawd gan wacced, ni all amgyffred,
Mae gan ysgafned genym glywed,
Fod troyad ened trist,
Mae 'r deincod sarphedd, ar ein dannedd,
A'n rhwystra i fwytta bara o buredd,
Wirionedd croywedd Crist,
Pe 'i bwriem syrffed y sarph goch,
Ar gibau 'r moch ni ymborthem,
Y Mô pasgedig diddig da,
A'r cuddiedig fanna fynnem,
A'r nefol ddwr bywiol,
O'r gref ysprydol graig,
Efe lanwe ein calonne cysogai ddryge 'r ddraig.

10. Gwyliwn orphwys, mewn byd dyrus,
Yn yr Adda anwireddus,
Twyllodrus bregus brau,
Yn ddwys gweddiwn na ddiffygiwn,
Am gael mael euraid, a milwriwn,
O's medwn hwyliwn hau,
Tra bo'm ni'n cilio ar ol ein gwadd,
Oddiwrth y porthladd cyfyng,
Yr ym ni felly 'n prisio 'r ne,

Na thal ein pherle ffyrlyng,
Hiraethol ddiffygiol, nid ym am nefol nyth,
Yn y cnawd etto gwnawn dario,
Pe cae'm ni ein boddio byth.
11. I gadw'r arfer nid yw ond ofer,
Chwedleua am Grist, er's yspaid amser.
Mil a thri chwarter maith, 1750,
Rhown heddyw 'r bore rhwng ein bronne.
Bor yr eglwys a'i ber arogle,
Gwnawn ddechre ei wylie i waith,
Na thybiwn fod mewn hynod hoen,
Dan sel yr oen a'i rinwedd,
Cyn inni erioed archwaethu blas,
Ei deyrnas addas weddedd,
Oen *Israel* nid yw'n fugel,
I ddynion uchel iach,
Y credadyn mae'n dderbyn,
Fe'i mynn fel plentyu bach. *Diwedd.*



## Carol Plygain ar y fedley fawr,

V.

1. DYMA'R diwrnod ddifyr ddefod,
I ymgyfarfod a Duw 'r drindod,
I ganu mawrglod mwyn,
Dyma'r boreuddydd cynydd caniad,
Dyma 'r gwyliau mawr eu galwad,
Yn dwad etto ar dwyn,
Dyma 'r dydd ar dymer da,
Y llawenha 'r Angylion,
Dyma 'r wyl diameu roed,
Ddiddana erioed, i ddynion,

Nadolig gwir unig,
Anedig ſab Duw nef,
Rhown ſeingar, addolgar,
'Wyllyſgar lafar lef.
2. Hiſtori 'r teſtyn, fel y mae'n canlyn,
Yr ym yn dderbyn, er yn fechgyn,
Bob blwyddyn yn ein plwy,
Carolau newydd ſwyſwy beunydd,
A llailai ſobrwydd o flaen yr,
Arglwydd bob dydd o'u herwydd hwy,
Paham na byddai 'n well ein ffrwyth,
Beth ydyw 'r adwyth ſy arnom?
Pa amla 'r hauo Duw ei had,
Bydd lleia 'n dwad ynom,
Mae ſattan fel cigfran,
A'i amcan gyſan gas,
A'm dderbyn pob gronyn,
Rhag ennyn gwreiddyn gras.
3. Tir anffrwythlon, ydyw 'n calon,
Yn llawn mieri llwyni mawrion,
Gwawn furion ynddi fydd,
Creigl e ſychlyd, galed hefyd,
O herwydd beſtwydd bronnau ein,
Hyſpryd, am ffynnon bywyd ffydd,
A dyſn yw gwraidd efengyl gras,
Oddiwrth ein bas ddych'mygion,
A thrwy 'r llythyren wyddor wan,
Sy ar wyneb glann yr eigion,
Hawdd inni fynegi fod wedi geni gy'nt,
Griſt Ieſu, i'n gwaredu dan ganu geiriau gwynt,
4. Gwirionedd unig ſy'n ſgrifenedig,
Fe 'i ganwyd e ar y dydd pwyntiedig,
O'r fendigedig fair,
Ein Duw tragywyddol, anherfynol,
A wnawd yn gnawdol ddyn naturiol,
Trwy ei fywiol wrol air,

Pan

Pan gredai mair y gair heb gel,
A ddweudai 'r Angel wrthi,
Trwy 'r gwr a'i gwnaeth ae'r gair yn gnawd,
Pan ddaeth y traethawd atti
Bu yno, 'n ymffurfio 'n cenhedlu o hono ei hun,
Nes gwneuthur creadur, a Duw o natur dyn.
5. Nid wrth ddifgwyliad clust na llygad,
Y daeth ein ceidwad ond wrth archiad,
Portreiad un Duw tri
Addolai *Ifrael* ef yn ei demel,
Ac a'i diyftyrent e wrth y Buddel,
A'i fron mor ifel fri,
'Doedd nemor un a gredai 'n dda,
Mai 'r eu Fefia cyfion,
Barnwr lluoedd nef a llawr,
Oedd yno a'i wawr, mor wirion,
'N rhyfeddod i'w ganfod,
Dan ormod fyndod fen,
Mewn mebyd gwael nychlyd,
Heb agorud gair o'i ben.
6. 'R Iuddewon cyfrwys doeth Deuallus,
A hir ddifgwylient yn ddifgeulus,
Am dano 'n ddawnus Dduw,
Ac ar ei amferol ddydd penodol,
Ni adwaenant mo no 'n Grift dymunol,
Ffanfiol reiol ryw,
Er Darllen y prophwydi hen,
A chyfraith Moefen ddifri,
A chael datguddiad Eglur iawn,
Trwy gywir lawn oleuni,
Danghofiad dyfodiad agweddiad mab Duw gwyn,
Yn mynegu ei dlodi ni chredai rheini er hyn.
7. 'Rym ninneu etto 'n difgwyl wrtho,
A'm gael ein rhifo 'n ddefaid iddo,
O nifer euddo ei nyth,
Chwanegwyd inni at y prophwydi,

Athrawiaeth Criſt a'u brif eglwyſi,
Yn ſwy goleuni ſyth,
Er hyn ni adwaenom ninneu chwaith,
Mo'i lais na gwaith ei yſpryd,
Mwy nag y 'dwaenai nhwythau ei ddrych,
Wrth edrych ei wynebpryd,
Nid yw 'n coeg-ddall gnawd angall,
Yn deuall yſpryd Duw,
Na ſ'mudiad cynhyrfiad,
Ei rodiad yn ei ryw.

8. Nid yw fe 'n dyſod a llais tafod,
Er hyn mae yngwaelod ein cydwybod,
Yn taro traethod trwm,
Ni feddwm ninne, yn ein calonne,
Un gluſt yſprydol fywiol fodde,
A glyw reſyme heb ſwm,
Duw ynom fydd yn ſawr ei ſel,
Bob dydd heb gel yn galw,
Clyw deffro di gyſgadur ſwrth,
A chwyd oddiwrth y meirw,
A ninneu a'n barn anian,
Sy 'n caru heppian hwy,
Heb ddirnad byddarni, trueni cledi ein clwy;

9. Mae Efa yn blyſio ynom ni etto,
Gwell genym wrando 'r ſarph ſy'n twyllo,
Na Duw ſy'n briwo ein bron,
Gwell yw *Barabbas*, na'r *Meſias*,
Gwell troyad rhediad traed *Herodias*,
Na phen Elias lon,
Gwell bwytta ſiwgwr chwant y cnawd,
Wrth wneuthur gwawd o'n gilydd,
Fel Eſau 'n gwerthu ein braint an hawl,
A'm ſaig o gawl mae 'n gywilydd,
Feb meibion afradlon,
Yn ymborthi ar weigion wyg,
Gweddillion moch budron,

10. Ym'hle

Ein chwantau ffolion ffug.
10. Ym'hle mae rwan neb yn gruddfan,
O'i fod e'n ddrwg weithredwr truan,
Carcharwr trwstan trist,
A'i bechod arno yn faich i'w flino,
Ac yn gadwyn rymus gwedi rwymo,
I hwn mae croeso Crist,
Nid rhaid i'r rhydd, mo'r cael rhyddhad,
Na'r iach wellad physygwr,
Nid rhaid i'r dyn sy'n ddi ddyled,
Na gair na chred meichniwr,
Na'r wrachan mo'r trottian,
Ac arian yn y gist,
Na'r pechadur di ddolur,
Mo gysur Iesu Grist.
11. Nyni 'r prydyddion, pennau rhyddion,
Sy 'n cymryd arnon fod yn loywon,
A'n rhoddion heb ddim rhwd,
Yn gwaeddi 'n uchel dyma 'r demel,
Dan ganu i'n Duw a'n genau'n,
Dawel, a'n bronnau 'n rhyfel brwd,
Gwrandawn y farnedigaeth drist,
A ddarfu i Grist eglurо,
Gwyliwn dybio ein bod yn gall,
Wrth dwyso 'r dall i'w dwyllo,
O's oes gandden ni 'r awron dros demel Sion sel,
Yn groyw i'w gwir enw a gawn ei galw heb gel.
*Pa beth yw defnyddiau r eglwys.*
12. Nid sectiau crefydd, hen na newydd,
Nid teiau gweledydd, maes na mynydd,
Nid llennydd trefydd trist,
Nid cyfarfode, nid piniwne,
Nid adeiladaeth ond aelode,
Sy 'n diodde croese Crist,
Mae gwir aelodau 'r eglwys wen,
Yn un a'i pen puredig.

A Chrift yw'r pen, a'i gorph di frych,
Yw 'r eglwys wych gatholig,
Ty nefol yfprydol, o feini bywiol yw,
Llys uchel, oen *Ifr'el* a dirgel demel Duw.

13. Cynlleidfa defaid y ffyddloniaid,
Medd egwyddorion agwedd euraid,
Ein hen henafiaid ni,
Mae ei henw cymwys, felly 'n gorphwys,
Yn llyfr cyffredin weddi 'r eglwys,
Dawn hwylus dyna hi,
Pan eir i'w chwilio hyd at ei gwraidd,
Nid yw hi braidd i'w gweled,
Wrth leied fydd yn yr oes hon,
O ffyddlon ddofion ddefed,
Gwir eglur yw 'r 'fgrythyr o's gellir yftyr hyn,
Mai praidd bychan fy ynghorlan,
Y bugail gwiwlan gwyn.

14. Mae etto yfpryd *Saul* yn erlyd,
Y gywir eglwys fy a'i gwir oglud,
Am fynd i'r bywyd byw,
Ac yfpryd *Judas* rhagrith rhy-gas,
Y gwefyn dieflig gufan diflas,
Lle del cymdeithas Duw,
Er nad yw *Herod* yma ei hun,
Na *Pharo* 'n ddyn corphorol,
Mae eu hen yfprydoedd nhw etto 'n fyw,
Yn ol eu rhyw, anuwiol,
Yn eigion y galon, maent fel gelynion glas,
A chwedi ymarfogi'n ymgodi i groefi gras.

15. Rhwng *Crift* a *Belial* mae 'r ymddial,
A'r enaid coftus ar y cyftal,
Am hwn mae 'r treial trift,
Ond yw hi 'n amfer colli cellwer,
A mynd yn fawdwyr mewn dwys,
Hyder, dan faner cryfder Crift,

Addowfom

Addowsom hyn er's llawer dydd,
Er mwyn cael bedydd mebyd,
Ond beth dal addaw gwaith fel hwn,
Oni chywirwn hefyd,
Milwriaeth nid chwaryddiaeth,
Yw bywyd perffaith pur,
Y cristion gwir ffyddlon,
Mae ar ei galon gur.
Roedd llawer iawn swn achos diwygio,
*Calendr y dyddiau hynny a newid gwyliau.*
16. Am droi 'r amserol ddyddiau misol,
Ni cheir ar siarad ansefurol,
Gan ddynion bydol baid,
Na farned ffolion, gwerin gwirion,
Mo'n penaethied yn annoethion,
Roedd rhyw anghenion rhaid,
Ni ofyn Duw a'i farn yn drom,
Pa wyl a wnaethom gadw ?
Ond pa fath gred a chalon gron,
Sydd tan ein bron ni heddyw ?
Fath gariad derbyniad sy i air ein ceidwad ni ?
A pha bobl sucheddol,
Sain duwiol sy yn ei dy ?
17. Gochelwn weigion gau gynghorion,
Derbyniwn ddysg ym mysg pob moddion,
Bo bwriad calon bur,
Mewn ffydd gristnogol ddi bartiol,
Safwn yn ein lle trigianol,
Heb bwyso ar farwol fur,
Mae oedran Crist i'w riso ar fyrr,
A mynd trwy ystyr trostynt,
Saith ddeddeg ugain a saith ddeg,
A dwy flwydd wiwdeg ydynt,
Y rhif yna o'r oes ola,
A ddaeth heb ana i ben,
A'r

A'r lleill etto sy'n brysio,
Duw atto a'n mynno Amen. *Diwedd.*



## Carol Plygain ar Farwel ned pyw.

### VI.

1. YN y dechreuad yr oedd y gair,
Grymusair purair parod,
Cyn i'r Arglwydd un a thri,
Wneud sylfaen ei breswylfod,
Duw oedd y gair a thrwyddo 'n faith,
Y gwnaethpwyd gwaith y drindod,
Ac heb y gair ni wnaeth ef ddim,
Ond wrth ei rym wir ammod,
A'r peraidd air purion, hwn ydyw 'r ail person,
O'r drindod glan galon, yr un ar tad cyson,
Yn gwisgo 'r un goron deg euraid,
A'r bywiog air bywiol, fef had y wraig reiol,
A' sigai 'r sarph hudol ae'n fugail tragwyddol,
I gadw oddiar ddiafol ei ddefaid.
2. A'i wir gnawdoliaeth glanwaith glod,
Hon yw y rhyfeddod fwya,
Er dechre 'r greadigaeth faith,
A'r golwg waith dirgela,
Ac er nad yw y rhyfeddod hon,
Yn deg ger bron ein llygaid,
Gwir olwg ffydd a wel ei gwawr,
Fel pettai 'n awr yn euraid,
Mari wen ydoedd yn dala Duw 'r lluoedd,
Ac ynte 'n dal nerthoedd ffurfafen y nefoedd,
A thiroedd a moroedd a mari,
Hi ddaliai ei hanwylyd ei phriod a'i phrophwyd,

Ei

Ei thad a'i mab hefyd ei Duw a'i brawd hyfryd,
Yn cymryd ei febyd yn fabi.
3. O gwelwch fair fan ddiwair ddwys,
Ym methlem wiwlwys ole,
Yn efgor ar y gwr a'i gwnaeth,
Ac yn rhoi iddo laeth ei bronne,
Mair yn blentyn Dduw tad,
Drwy rad ei gariad gwrol,
A Duw yn blentyn i'r forwyn fair,
Cenhedlai o'r gair rhagorol,
Ni cheisiodd frenhines o'r bonedd fawr,
Baenes, na madam na meistres,
Ond morwyn ddi rodres,
Ae 'n gynes i fynwes y fenyw,
Yn union pan aned, mewn brattiau fe'i rhwymed,
A rhefwm eill dybied, mai gwellt anifeilied,
Oedd dano i bawb weled yn bulw.
4. Efe oedd pia 'r tir a'r tai,
Y ddaiar a'i chyflawnder,
Ac etto heb le i roi ei ben y nos,
Mewn achos a chyfyngder,
Mawr na fynasai dy a than,
Mewn plafau glan Arglwyddi,
A dewis yn lle tafw o wair,
Gael gwely i fair o'i fori,
Diyftyrwch mawr ydoedd yngolwg llaweroedd,
Weld geni Duw 'r lluoedd, brenhin brenhinoedd,
Gwneuthurwr y bydoedd mewn beudy,
Pob achau pen uchel ystyriwch fanct *Ifrel*,
Yn lletty'r anifel,
A'r ych wrth ei fuddel,
A'r prefeb cryd ifel rhoed Iefu.
5. Gwelwch y Duw fy'n llond pob man,
Yn baban egwan agwedd,
Yn dal y moroedd yn ei ddwrn,
Fel dafn o gelwrn gwaeledd,

Na

Na thybiwch ddynion calon iach,
Mai rhyw beth bach yw pechod;
Nid tan beth bychan gwan ein gwydd,
Y plygai 'r Arglwydd eurglod,
Cynhaliai r ffurfafen wir hylwydd a'r haulwen,
A'r lleuad wawr cawen,
A chlob y ddaiaren, i'w ddwylo fel pellen heb ballu,
Ond trwmlwyth ein pechod,
A wasgodd ei hanfod,
Cyn ised ar beddrod, i'r ddaiar dri diwrnod,
Gwnae dyfod yn waelod i'w wely.

6. Ni a glywsom son am lawer loes,
Gadd Crist a chroes echryslon,
Ni a fedrwn adrodd gwn ar goedd,
Mor ddued oedd yr Iuddewon,
Ni a fedrwn ladd ar Herod gynt,
A'i filwyr helynt filen,
A dweud gelynion dynion dig,
Gwenwynig addig oedden,
Ond cymrwn beth hamdden,
A chwyliwn ein hunen,
Nyni roes y wialen a'r groes ar ei gefen,
A'r gorsen yn gywren i'w guro,
Ein pechod ysgeler sy 'n llefain bob amser,
A'r gyfraith cyfiawnder,
Y tad o'r uchelder croeshoelier,
Croeshoelier, y *Shilo.*

7. Ystyriwn ddynion hyn yn ddwys,
Mai baich a phwys ein pechod,
Oedd ymdrech Crist a'i waedlyd chwys,
Lafurus boenus benod,
Ei borphor wisg euogrwydd yw,
Du ebwch liw 'n cydwybod,
A'n rhagrith oedd y bustul pur,
Ar gwppan sur a'r sorod;
A'r goron fawr ddreiniog,

A'r

A'r waywffon finiog, ar haelion dur llidiog,
Yw 'n gwynniau afrywiog,
Fu'n rhwygo 'r Duw enwog da union,
Ychydig sy'n canfod, fod arnyn fath bechod,
A hoelio pob aelod i'r Iesu ar dir ifod,
Prin gellir i ddannod o i ddynion.
8. Rhai fel y pharifeaid fydd,
Fel hyn yn rhydd gweddian,
I Dduw 'rwy 'n diolch am fy nghred,
Nid wyf gan waethed weithian,
Nid wyf na lleidr llofrudd chwaith,
Na meddwyn llaith, rwyn meddwl,
Nag yn cribddeilio dim ar gam,
Fel cybydd am y cwbwl,
Nhw welan yn ole fod pob peth ar gore,
'N breuddwydio am grist weithie,
Yn iach eu calonne,
Heb deimlo eu pechode ond ychydig,
Pob un fy'n gwir gredu,
Clyw faich mae 'n clefychu,
Fe gyfyd i fynu a'i archollion 'n gwaedu,
I nefu o flaen Iesu 'n flin yfig.
9. Caniadau 'r byd i gyd ar goedd,
Sy'n dweud fel yr oedd ar Adda,
Dyma 'n rhefymmau ninnau ei blant,
A geir gan gant yn gynta,
O's Adda a'n trodd, mewn cyflwr trist,
Trwy 'n ceidwad Crist fe'n codwyd,
Ond nid ein codi at Ffansi ffol,
I fyw 'n anrafol rywfut,
Peth yfgafn yw adrodd,
Dweud Adda 'n condemniodd,
A Christ a'n gwaredodd,
Pawb felly eiff i'r nefoedd,
Heb ffydd na gweithredoedd fydd reidiol,

Eiff

Eiff meddwon a'u pottie,
Masweddwyr o'u swydde,
I *Seion* wen ole, er dweud o'r 'sgrythyre,
Nad a yno mo'u bathe byth bythol.

10. Er diodde o Grist dros Adda e'i frawd,
Drwy weisgo i gnawd a'i Esgyrn,
Does neb eiff atto i *Seion* fry,
Heb waith ymdrechu 'n drachwyrn,
Ac er mai Crist ei hun i'w 'r ffordd,
Dda euraid briffordd ore,
Mae 'n dweud ei hun mai cul yw 'r porth,
Drwy 'r dyrus orthrymdere,
Y Crist bendigedig, anfonwyd yn unig,
At ddefaid colledig brau adwyth briwedig,
Sy a diffyg am feddyg ufuddol,
Y byddar a'r dall, gwahanglwyfus a
Mall: sy'n gweled eu gwall,
A'u bywyd ar ball, ni ddaeth ef am arall i 'morol.

11. Gwir oed yr Arglwydd ar un gris,
Heb uwch nag is i'w gofod,
Chwarter mil o feithiau sydd,
Ar foreu ddydd y ddefod,
O's daethom yma i ganu mawl,
I'r Duw tragwyddawl gweddus,
Dyledswydd ydyw canu ei glod,
A ddyleu fod yn dilys,
Crist'nogion fe'n henwed, i Grist fe'n bedyddied,
O nifer ei ddefed, i fyw yn ddimwed,
Rhoed arnom adduned ddaionus,
Cofiwn mai cyffon, yw Duw a'i amcanion,
Ni ddaw ond y dynion, a elwir duwiolion,
I *Seion* wledd union lwyddianus. *Diwedd.*

CAROL



## Carol Plygain ar Farwel Ned Pyw.

### VII.

YMLAWENHAWN ac awn i gyd,
Wel dyma 'r pryd priodol,
I ganu hymnau 'r boreu ddydd,
I'n brenhin ufudd nefol,
Hon ydyw 'r adeg wiwdeg wen,
Y cowsom lawen lewyrch,
Haul cyfiawnedd duedd da,
Goleua gwnna gynyrch,
Pan oeddem mewn Tywllni,
Ag angau i'n cysgodi,
Disglaeriodd goleuni yn ganwylldeg inni,
I doddi 'r du oerni doe arnom,
Pan welodd Duw 'n eglur,
Ein dialedd a'n dolur, cyfeiriodd ni ar lwybyr,
Tanghefedd lan gywir,
Penadur o gysur a gowsom.
2. A hwn yw Crist y gwir oen gwyn,
A'n codai o'r dyffryn diffrwyth,
I fynydd Seion at Dduw sant,
I fyw mewn ofmant esmwyth,
Chwi glywsoch adrodd gwir ar goedd,
Dylotted oedd ei letty,
Ym mhlith di gred, greaduried mud,
Y daeth e i'r byd mewn beudy,
Pan anwyd e'n faban, o'r forwyn,
Rowioglan, fe gymerth ein hanian,
Yn faich arno ei hunan,
Yn egwan fab bychan heb bechod,
I'n codi ni i'r wyneb, o lynn tragwyddoldeb,

A than ei ddoethineb,
Gwnae ei dduwdod mewn purdeb,
Ffyddlondeb da undeb a dyndod.
3. Am hyn o'i eirian byngciau bâs,
Rho fwy o spâs i hysbysu,
Pe rhoid pendefyg ffrolig ffraeth,
Mewn chwerwder caeth garchardŷ,
Ag yno ei droi a'i gloi mewn glyd,
I dario o hyd ei hoedel,
Heb obaith chwaith tra bae ynddo chwyth,
Ammodau fyth i ymadel,
O's byddai mewn power,
Yn perchen da lawer, darfyddai am ei bleser,
Mewn ing a chyfyngder,
Ar fyrder ei gellwer a golle,
O's dweudai gwr llariedd,
A llawn o drugaredd, dowch adre o'ch caeth annedd,
Mi af drosoch am drawsedd,
Anwiredd wan fuchedd yn feichie.
4. Ond dyna 'r gair cysurus iawn,
Ai gwnae fe 'n llawn llawenydd,
Gael cyfaill clir mor bur a hwn,
I gario pwn ei gerydd,
Pa faint llawenach hoywach hynt,
O herwydd helynt hylwydd,
Y dylem ni ymddigrifo 'n ddwys,
Wir eurglwys yn yr Arglwydd,
Nid yw meichiau dyn bydol,
Ond amser terfynol, mae Crist yn feichniol,
Rhag distryw tragwyddol,
Tân ysol uffernol a'i ffwrnais,
Er maint oedd dichellion,
Y sarph a'i gynllwynion,
I'n cau'n garcharorion,
Doe 'r Iesu yno i 'mryson,
Gan dorri gafeilion drwy falais.

5. Cr

5. Crist yw'n craig a'n Brenhin cred,
A'n gwrol nodded gore,
Crist yw ein bugail clau fail clos;
Iachawdwr dros bechode,
Crist yw pen ein heglwys bur,
Cadarna mur ymwared,
Crist ydyw 'n porth i'r nefoedd glaer,
Fe a'i gwnaeth hi 'n gaer agored,
Crist ydyw ein Hetholwr,
Pur union a'n prynwr,
A Christ yw'n rhyfelwr,
Da lywydd dadleuwr,
Cyfryngwr a rhoddwr yr heddwch,
Crist ydyw 'r penna yn y nefoedd oleua,
O'i synwes gyfiawna,
Crist yn ein cyfyngdra,
Wnaeth yma i had Adda ddedwddwch.

6. A ffydd ynghrist yw 'r union ffordd,
A'r llwybr hyffordd hoffwn,
I fynd i'w noddfa happusa pwys,
Drwy agwedd crydwys credwn,
A'r ganwyll sydd gan bob dyn byw,
Hon yw gair Duw i'w dywys,
A'r lamp i gario 'r goleu heb gudd,
Yw 'r galon brudd alarus,
A'r olew sy'n cynne hoff eglur yn fagle,
Yw grâs a rhinwedde, ysprydol synhwyre,
Meddylie 'n troi eu gore at drugaredd,
O's cymrwn ni 'n ddiffi yr olew a'r elli,
Nid allwn ni golli, mo ffordd y goleuni,
Awn drwyddi rhoed inni 'n rhad annedd.

7. Ceisiwn ar ei blygain ddydd,
Egwyddor ffydd a gweddi,
Trown ein hwynebau atto i gyd,
Mewn bryd ddiofryd ddifri,
Gwedi gwrando 'r efengyl gu,

 A'n

A'n llenwi i fynu o'i swyniant,
Awn adre o'r eglwys gymwys gôr,
Mewn ordor sobor seibiant,
Nid myned i'r unfan i'r eglwys,
Wen gorlan; i dderbyn llawn gyfran,
O air Duw sancteiddlan,
A mynd yn wâg allan i'w golli,
Cofiwn mai arfaith,
Y drindod dirion-daith,
Mewn cariad pur perffaith,
A luniodd er gobaith,
Ar foregwaith y lanwaith wyl inni.

8. Addawsai Duw i Abraham,
Hen brophwyd dinam doniol,
I gadw ei wir gyfammod clau,
Cyflawnai 'r geiriau gwrol,
Ag yno 'r ail flodeuai 'r pren,
Yn Eden lawen leuad,
O flagur *Jesse* yr impie ei wraidd,
A Dafydd iraidd dyfiad,
A hwn yw mab cyntaf,
Anedig *Maria*, a'r llew o lwyth *Juda*,
*Alpha* ac *Omega*,
*Messia* ac ail Adda goleuddawn,
Mil seith-gant sy'n passio,
Wyth chwe-gwaith i'w rhifo,
Er pan aned Duw shilo,
Ac er cymaint aeth heibio,
Fyth etto da cofio Duw cyfiawn. *Diwedd.*

## Carol Plygain ar Farwel Ned Pyw.

### VIII.

1. DOWCH drigolion union iath,
Ar foreu gwaith arferol,
I ganu mawl eglwyfawl glod,
I'r Iefu ar ammod rafol,
Pan ddelo ar dir newyddion da,
Y llawenha pob calon,
Bydd cân a gwledd a chadw gwyl,
A phawb mewn hwyl yn hoyw-lon,
A dyma 'r newyddion da gyfur a gowfon,
Gynt gan yr Angylion,
Drwy nefol fadroddion,
Canafon deg union ogoniant,
A'r newydd mawr yma oedd geni 'r *Meffia*,
Ym Methlem *Judea* drwy foddion rhyfedda,
I heppil goll Adda, gael llwyddiant.
2. O'r newydd howddgar lafar lef,
Cynhyrfai 'r nef mewn afieth,
Ac uffern dywyll erchyll wg,
Cynhyrfai o gilwg eilweth,
A'r Saint ar wyneb daiar dir,
A lanwai o wir lawenydd,
A'r annuwolion oll i gyd,
Fileniai o lid aflonydd,
Rhyfeddol o newydd fod cynnwrf mor ebrwydd,
Ym mhob man o'u herwydd,
Llawenydd llidiawgrwydd,
A thramgwydd o'r gwir lwydd ac erlyd,
Newydd hyfrydlon yn' llawenhau calon,



Y Saint

Y Saint a'r angylion,
Ac yspryd drwg ddynion,
Mewn blinder ddyblygion o'i blegyd;
3. Fe ddwedai *Simeon* galon gu,
Pan deimlai 'r *Iesu* 'n dyner,
Mai cwymp a mawr gyfodiad oedd,
Ar goedd i luoedd lawer,
Fel gwerthfawr faen yn fylfaen fai,
I'w ddefaid a'i haddefai,
Maen tramgwydd craig o rwyftr byd,
I'r lleill i gyd a'i gwadai,
Rhaid yma wrth ddoethineb,
I ymholi ac ymatteb, fod Crift yn ei burdeb,
Yn fylfaen duwioldeb,
A thramgwydd afrwydd-deb i'w fradwyr.
*Hol.* Oni ddaeth y *Meffia*,
Di ameu i'r byd yma.
I'n tynnu o'n cyfyngdra,
Cadd holl heppil Adda,
Rhag uffern ddu gafa dda gyfur?
4. *Att.* Mae hynny 'n wir mewn ficer fail,
Y bugail arail euraid,
A ddaeth i gadw ei braidd ei hun,
Rhag difa 'r un o'r defaid.
*Hol.* Ond ydoedd heppil Adda i gyd,
Yn ddefaid llid colledig?
Ac etto 'n fiwr drwy *Ifrael* fant,
Hwy fyddant yn gadwedig.
*Att.* Gwirionedd feliedig,
Eu bod hwy 'n golledig,
A gwirionedd yn unig,
Sy'n dweud mai ychydig,
Yw 'r defaid cadwedig a ddidwyll,
Yr yfgrythur a draetha dueddiad had,
Adda, yr eiff rhai i orphwysfa,

R

'R nef lawen oleua,
A'r lleill i letteua i wlad dywyll.
5. Mae 'n brŷd i ni rhag bod yn ol,
Ymorol heb ymaros,
Pa rai ydyw nifer nefol fro,
Ac uffern ogo geuffos,
Na thybiwn fod trugaredd Duw,
At ddynol ryw mor helaeth,
Nad oes dim lle i fynd heibio hon,
Heb dirion Iechydwriaeth,
Pe byddai hi felly, mae'n ofer
Proffefu; ac yn ofer gofalu,
Cynghori a phregethu,
A dyfgu bucheddu 'n wŷch addas,
Ond tybia rhai pobol,
Drugaredd Duw nefol, yn beth cyffredinol,
I bawb yn feddiannol,
Y cnawdol daiarol a diras.
6. Gofynner hyn o gweftiwn da, i'r anuwiola rwan,
Y tyngwr meddwa lleia ei rás,
Sy'n byplig wâs i fattan,
A wyt i'n credu ynghrift,
A ddaeth, yn iechydwriaeth heddyw?
A'i tybio 'r ydych medd y dŷn,
Mai angredadyn ydw?
Rwy'n credu'n rhagorol,
A'm fywyd tragwyddol, ac ynte 'n drigianol,
Mewn buchedd annuwiol,
Mor ffyddlon i'r diafol a Deifes,
Nid dyma'r ffydd fywiol,
Sy i'w galw 'n griftnogol,
Ond ffydd y farph hudol,
A dyfodd o'r diafol,
Yn Efa ein mam wreiddiol fo'i rhoddes.
7. Ni fyddwch feirw meddai 'r ddraig,
I dwyllo 'r wraig a'i dallu,

 Hi

Hi goeliodd hithe gelwydd hon,
O'r galon yn ddi gelu,
A Sattan sy etto 'n ffrostio'n ffraeth,
Yr un athrawiaeth reiol,
Pregethu Crist i ddynol ryw,
Heb ruso byw'n anrasol,
Bodlona iddynt gredu,
Ynghnawdoliaeth yr Iesu,
Ac iddo eu gwaredu, o ffwrnais y fagddu,
Mae felly 'n llonyddu llin Adda,
O's creda neb amgen,
Fod perygl drachefen,
Fo faga gynfigen, try 'r heddwch yn gynnen,
Fo gyfyd i filen ryfela.

8. A gredo'r ffydd gristnogol iawn,
Nid ffydd heddychlawn ydi,
Ond ffydd y groes rhyfelgar gred,
Hon ein bedyddied iddi,
Rhaid ymladd y filwriaeth lân,
Yn erbyn sattan gyfrwys,
Dan faner Crist ein Brenhin cu,
Mal euraid lu milwrys,
O's heddwch 'dawn iddo,
Heddwch gawn ganddo,
Ni chyfid mor cyffro,
O'n blaenau ni i'n blino,
Ond prattio i'n dyhuddo,
Mewn heddwch,

*Hol.* Wel pam rhaid ymryson,
Ac ynte 'n heddychlon?
Ond gwell yw byw 'n fodlon,
Mewn heddwch tra caffon,
Mae'n dda gan y galon ddiogelwch.

*Att.* Nid rhaid mor diolch iddo 'sbydd.
Yn llonydd heb gynllwynion,
Tra byddo ganddo awdurdod gre,

A

A fiwr feddianne ar ddynion,
Rhyfela a'r farph fydd raid i'r faint,
Cyn cario braint eu coron,
Fo aeth a'u cyfur noetha cais,
Drwy dwyll a thrais anghyfion,
A fyddwn ni llowaith?
Wrth elyn mor ddiffaith,
A ddygai ein llywodraeth,
Mae ganddo dreftadaeth,
A honno ymrenhiniaeth ein heneid,
Na cheifiwn ym mhellach,
Mo'r celu ei gyfrinach,
Na gwrando ar ei ffolach,
Mae'r farph yn gyfrwyfach,
A challach a ffelach na ffyliaid.

10. Fo gais gadwyno dŷn yn dynn,
Rhag credu hyn o hanes,
Gan ei berfwaedio i goelio 'n well,
Ei fod o mhell o'i fynwes,
O'r achos yma traha trift,
Y ganwyd Crift yn ddiau,
Am fod gan fattan feddiant ffri,
Yn eich mynwes chwi a minnau,
Wrth fyned llywodraeth,
Y farph a'i gelyniaeth,
Trwy yfpryd naturiaeth,
Adda a'i hiliogaeth,
Crift yn ein cnawdoliaeth a'i daliai,
Gan weled agofed, oedd gelyn mor
Galed; y gorfu i'r oen eured,
Ddwad attom gan nefed,
Yn gnawd ac yn ened fel ninnai.

11. Yn yfpryd Adda 'r cynta o gâs
Gwnae 'r farph i'w deyrnas,
Ynghnawd *Maria* Adda 'r ail orphwys,
Ofododd fail paradwys,

Fel

Fel hyn fe wreiddiodd had y wraig,
Yn is na'r ddraig uffernol,
I siglo dyfnder trawster trais,
Grymuster dyfais diafol,
Pan anwyd y plentyn, o'r wryf wir forwyn,
Fe grynodd pob gronyn, o deyrnas y gelyn,
I'w yrru fo i ddygyn eiddigedd,
'Mddanghosiad Crist iddo,
Oedd yn ei benydio, nid eill o ddim etto,
Ddwad byth i'r lle bytho,
Na goddef gair yno o'r gwirionedd.
12. Na thwyllwn ni mo'n henaid drud,
A geiriau ynfyd ofer,
O's awn i'r nef na thybiwn lai,
Na mynd trwy grai cyfyngder,
Plant *Israel* aeth drwy ddwr a than,
I *Ganaan* i breswylio,
A maith anialwch dryswch drain,
A Duw 'n eu harwain ypo,
Tir *Canaan* pan welson oedd lawn o elynion,
Plant *Anac* oedd greulon,
Y cowri tal-gryfion,
Gwyr blinion arfogion rhyfygus,
A rheini fe orfu iddynt filen ryfelu,
A lladd wrth ymdrechu elynion o'u deutu,
Cyn iddyn feddiannu 'r wlad ddownus.
13. O's teithiwn ninnai i Seion frŷ,
Ar ol yr Iesu rasol,
Cawn faith anialwch drwch di râd,
A llawer brad ysprydol,
Mae 'r ffordd ini fel iddynt hwy,
I'r ddinas drwy 'r *Jorddonen*,
Sef dagrau edifeirwch prydd,
O's credu ein bedydd yr yden,
Ac os ŷm am gychwyn ceisiwn ymofyn,
Pob math ar offeryn, i'r rhyfel syn perthyn,

I yrru

I yrru pob gelyn i gilio,
Cleddyf dan finniog, yr yspryd gwilnog,
A tharian ffydd wresog fel byddin fanerog,
Dan frenhin coronog yn raenio.
14. Na rused neb er bod yn wan,
Mor ymladd dan yr Iesu,
O's gweiniaid ŷnt mae eu brenhin gwiw,
Yn gadarn i'w, gwaredu,
Ni adawodd brenhin *Israel Sant*,
Erioed 'w blant mo'r colli,
O flaen un perchen bwa dur,
Er bod eu gwyr yn gowri,
*Goliah* 'r ffilistied, gan lengcyn a ladded,
A byddin y firied, yn ffoi rhag y cripled,
Ond Duw oedd i'r gweinied yn gynnyrch,
Pob rhyfel a chynnen fu 'rioed ar ddaiaren,
O's byddai 'r pen capten,
Sant *Israel* i'w harwen,
Ni chododd neb amgen, mewn ymgyrch.
15. A hwn sydd frenhin mawr ei fri,
A anwyd inni 'n fachgen,
O'r forwyn fair dda ei gair ddi gâs,
Y boreu glas ar blygen,
Tywysog hedwch yw fe o hyd,
I'w anwyl gyd griftnogion,
A phen rhyfelwr milwr mawr,
I daro i lawr ei elynion,
Ni thyccia i ni etto mo'r siarad am dano,
Rhaid inni fynd atto, a glynu nglau wrtho,
A gymryd heb wrido 'n briodol,
A'r Arglwydd Dduw sanctedd,
A roddo ei drugaredd, i newyd ein buchedd,
I'w galyn a'i goledd,
Hyd ddiwedd mewn agwedd griftnogol. *Diwedd.*

CAROL



# CAROL ar Greece a Troy.

## IX.

1. POB perchen cred a bedydd,
Ystyried mewn distawrwydd,
Beth ydyw 'r fawr ddyledswydd,
Hylwydd hôn,
Sydd genym ni 'n gyffredin,
Dan enw addoliad ddichlin,
I foli Duw 'n gwir frenin ger ei fron,
Deffrown o anystyriaeth.
O's ydym ar orchwyliaeth diweniaeth Duw,
A chofiwn bwynt y diwrnod,
A'r achos o'n cyfarfod,
Rhyw ammod tra mawr yw,
Nid diwrnod gorfoleddus,
I borthi 'r cnawd trachwantus nwyfus nod,
Ond diwrnod i'm hyfrydu,
A gonest gywir ganu,
Mawl Iesu i glymu ei glod.
2. Mae pawb yn bur gyfarwydd,
Am hanes Crist yr Arglwydd,
Nid ydyw hynny newydd chwaith i ni,
Mae gan y byd wybodaeth,
Yn deg o'i anedigaeth,
O'r Beibl hen athrawiaeth un a thri,
Ei gael e' i'r byd yn blentyn,
A'i eni o Fair y forwyn addfwyn oedd,
A'i fod ar y ddaiaren,
Dair blwydd ar ddeg ar hugen,
Mae'n gywren hyn ar goedd,
Yn dilyn buchedd sanctedd,

Yn dyſgu pob gwirionedd yn ei ryw,
Yn gwneud rhinweddol wrthiau,
Arwyddion rhyſeddodau, trwy weithrediadau Duw.

3. Ni a glywſom ei gondemnio,
I farwolaeth a'i groeſhoelio,
Rhwng lladron i wradwyddo ei euraid wedd,
Ac iddo 'n bur aberthu,
Ei gorph a'i waed i'n prynu;
A'i gladdu a chodi i fynu 'n fyw o'i fedd,
Ni a glywſom ei dderchafu,
I'r nef a chyda hynny,
Y daw fe i'n barnu 'n bur,
Ac y bydd rhai 'n cael cymmod,
A'r lleill mewn gwarth eu gwrthod,
Am bechod ſorod ſur,
A hyn i gyd i'w gadel,
Sydd genym fel hên chwedel uchel iawn,
Wrth glywed y pregethwyr,
Yn dwyn tyſtiolaeth eglur,
O'r 'ſgrythyr llythyr llawn.

4. Yr awrhon gellid meddwl,
Y gwyddom ni 'r holl gwbwl,
Wrth hyn o hanes fanwl hynaws fas,
Ond etto mae i ni ychwaneg,
O athrawiaeth fwy cywireindeg,
Am Ieſu Griſt oen gwiwdeg rwyddeg ras,
Geill pob hudolwr diles,
Wneud cyffes mewn gwag broffes,
Wrth hanes hyn,
Ac etto byw 'n ddieithrol,
I byngciau 'r ffydd griſtnogol,
Heb râs digonol Ieſu gwŷnn,
Yn bwyllus deuwn bellach,
Etto 'n fwy agoſach at y gwir,
Agorwn hwn drwy gariad,

Mewn

Mewn ffordd o argyhoeddiad,
Neu hunan holiad hir.
5. Wel profwn faint a wyddom,
Pwy sy 'n teyrnasu ynom,
Neu'n Arglwyddiaethu ynom heno ei hun?
Pa un ai Crist ai pechod?
Nid eill y ddau mo'r cyfod,
Ond mae gan un, awdurdod ar bob dyn,
Pe Crist a fai 'n rheoli,
Fe dynnai fwy daioni goleuni i'n gwlad,
Ni fyddai 'r fath annuwdeb,
Ddull annoeth o ddallineb,
Yn torri yr undeb rhad,
Ond pechod sy 'n teyrnasu,
Mae 'n gorfod ar yr Iesu ffaelu a ffoi,
I'r Aipht neu ryw dir anial,
Rhag Herod yspryd *Belial*,
'N dal treial rhag ein troi.
6. Er dyfod iechydwriaeth,
Drwy Grist a gwaredigaeth,
Rhag digwydd damnedigaeth i'r un dyn,
O's pechod sy'n teyrnasu,
Gelyniaeth sy etto 'n glymu,
Mae Crist a ninneu 'n tynnu 'n anghytun,
Ystyriwn beth yw pechod,
Etifedd uffern isod câs y drindod cu,
A than ei Arglwyddiaeth,
Nid oes na Christ na'i gyfraith,
Ond drwg hudoliaeth du,
Ond pechod sy'n tywyllu,
'R efengyl rhag llewyrchu a dysgu dyn,
Lle mae gan Grist awdurdod,
Mae 'n gwared oddiwrth bechod,
Ei hynod euddo ei hun.
7. O'ch! gymaint twyll y galon,
Gwna i ddynion gredu 'n hyfion,

Eu

Eu bod yn wir gristnogion digon dâ,
Cyn chwylio 'rioed na chredu,
Fod *Judas* bradwr Iesu,
O bechod ynddi 'n llechu a'i nasu wnâ;
Ond chwiliwn y sgrythyre,
O's ydym yma 'n ame cywirach gole gawn,
Na ddichon gwir gristnogaeth,
Gyd dario a chwrs naturiaeth,
Lle mae gelyniaeth lawn,
'R ysgrythyr a fynega,
Hanes y ddau Adda, 'r cynta a'r ail,
Edrychwn mewn gwirionedd; (mwya sall.
A'r br'un o'r ddau mae 'n buchedd, mewn sylwedd,
8. Geill twyll y galon etto,
Mewn hyder wag ein budo,
Mae 'r ail sydd wedi selio ganddi 'n siwr,
Fel y dweudai 'r hên *Iuddewon*;
Eu bod yn etifeddion,
Blant *Abraham* oedd ffyddlon union wr,
Attebwyd eu tŷb wyrgam,
Pe byddech blant i *Abra'm*,
Hwn ydoedd ddinam ddŷn,
Canlynech ei weithredoedd,
Chwi adwaenech fordd y nefoedd,
Ac o ble 'r hannoedd Crist ei hun,
Ac fellu ped fai minnau,
I Grist yn wir aelodau breintiau bei,
Gweithredoedd Crist mewn urddas,
A rheol gair ei deyrnas,
A fyddai 'n addas gyda ni.
9. Mae 'n eglur wrth hyn yma,
Mai tan y sarph gyfrwysa,
Yn yspryd yr hên Adda noetha ei ryth,
Yr ym ni 'n byw 'n anniano!,
Ynghadwyn pechod gwreiddiol,
A chalon wagobeithiol ynom byth,

Ond wrth eu ffrwyth mae nabod,
Canghenau hen gyff pechod,
Cydwybod fydd,
O'n blaene 'n cywir dystio,
Na ddaethom ni at Grist etto,
I wir berffeithio ein ffydd,
Pe caem ein himpio 'n gangau,
O'r ber winwydden oreu ei ffrwythau ffri,
Fe fyddai gryn gyfnewidiad,
Ar ddull ein hymarweddiad,
Wedi ein troiad at dduw tri.

10. Garedig anwyl frodyr,
Dowch ceisiwn bellach ystyr,
Mae 'n buchedd ni yma 'n amhur segur yw,
Na chysgwn mewn esmwythder,
Be dâl breuddwydion ofer,
Gwag hyder a byw'n dyner heb un Duw,
Awn at yr Iesu rasol, wrth oleu 'r seren siriol,
Fel y doethion gwrol gynt,
'R efengyl ydyw 'r seren,
A'i chynnyrch llewyrch llawen,
I'n harwen atto ar hynt,
Cyfrifir pawb yn ddoethion,
Am offrwm iddo anrhegion ffyddlon ffydd,
Gweddion gwir gyffesiad,
Mewn edifeiriol swriad,
Drwy deimlad profiad prudd.

11. Mae oedran Crist ein ceidwad,
Mil saith-gant o gyfrifiad,
A thriugain mlwydd ar ganiad tair ac un,
Trown bawb ein calon atto,
Fe 'n derbyn credwn ynddo,
Pan gollai ei waed i'n safio o hono ei hun,
Mae'n gwahodd yn gysurus,
Bob llwythog pechadurus sy 'n glwyfus gla,

O's byddwn yn golledig,
Bydd hynny o wall a diffyg,
Mynd at y meddyg dâ,
Nid Crist sydd yn ein gwrthod,
Ny ni sy'n torri 'r ammod pechod yw,
Yr achos o'n gwrthodiad,
O eisiau 'n bod ni 'n dwad,
Att lais y galwad gwiw, *Diwedd.*

---

CAROL Plygain ar *Charity Mistress.* Ystyriaeth o gyflwr pechaduriaid mewn gwag hyder am drugaredd, heb ganddynt dystiolaeth y gwirionedd argyhoeddiad, i'r cyfryw o'u camsyniad, a gwahoddiad at Grist.

X.

1. AGORWN gywir ganiad, cyhoeddiad hŷ,
Mewn cariad cu,
I'r Arglwydd yn gysurus, modd downus yn ei dŷ,
Mewn ystyr cywir deimlad,
Gwnawn ganiad gwiw, o rasol ryw,
Cymhwysa tecca tycciant,
Fo 'n dal gogoniant Duw,
A'r ffordd i roi i ogoniant,
Drwy fawr lwyddiant heddyw ar led,
I'w ceisio gwadd y rhai ni chadd,
Mo'u dwyn mewn gradd i gred,
Fe gân yr holl Angylion,
A lluoedd *Seion* llawen swydd,

Fod priddin brau, 'n edifarhau,
Gan ymwellhau mewn llwydd.
2. Nid canu gwâg ddoethineb ffolineb lawn,
O ddynol dawn; at bwynt ein cyflwr,
Eglur: drwy synwyr da nesawn,
Mae'n bryd deffroi o gysgu gan gredu'n gry,
Ar gysnos du; mae'r dydd yn agos ini,
Lle cawn oleuni cu,
Trown heibio ein coeg ddigrifwch,
'Sef gwaith y tywyllwch syniwch fydd,
Mewn llawer lle a'r nâf o'r ne,
Am ein dwyn i ole 'r dŷdd,
Mae 'r seren wedi codi, ond chwilio 'm dani,
I fforddi ein ffydd, i'n tywys ni,
At fab Duw tri sydd am ein rhoddi 'n rhydd,
3. Na ddweudwn mewn rhyfygus,
Huantus ffydd ein bod yn rhydd,
Ar hyn o ysgafn hyder ysywaith llawer sydd,
Yn tybio eu bod yn rhyddion,
Ag etto er hyn, mewn dalfa dynn,
Gan satan drwy dwyll pechod,
Heb ganfod Iesu gwyn,
Na gweled fod eu heneid, mewn trwm,
Gaethiwed galed gur, 'n cael ei warchau,
Fel wedi gau dan farrau dorau dur,
Ond clywsom i Grist ddattod,
Cadwynau pechod fellu gwnaeth,
A rhoddi 'n rhydd garcharorion prudd,
A'u dwyn o'u cystudd caeth.
4. Deallwn i Grist Iesu Aberthu 'r hun,
Yn lan ei lun, rhoes gyflawn daledigaeth,
Am iechydwriaeth dyn,
A siol y sarph a 'sigai condemniai,
Ynghyd: bechodau 'r byd,
Gorchfygodd nerth uffernol,

Ag

Ag angau marwol mud,
Dirymodd wg y gyfraith, yn dda helaith,
Ynddo ei hun; nad allai hon,
A phwys ei ffonn gondemnio calon dyn,
Agorodd Seion gaere i bawb a grede,
Am friwie ei fron,
Gosodai iw Saint, dda hawl ddi haint,
Mewn hylwydd fraint yn hon.

5 Er credu hyn gnawdol hanesiol naws,
Nid ym ni haws, a dilyn ein pechodau,
Camweddau troyau traws,
Gochelwn rhag tramgwyddo,
Wrth dreiglo 'r maen tramgwyddus raen,
Fe gollodd rhai eu heneidiau,
Er bod eu Beiblau o'u blaen,
A'u colli allwn ninnau,
Eisiau d'allt 'sgrythyrau Duw,
Wrth ffyddio 'n ffol, heb galyn rhôl,
Y rhain yn ol eu rhyw, (ffydd,
Credu 'r gair trugaredd ar draws gwirionedd ffied-I.
Cyn ein rhyddhau na'n cyfiawnhau,
Rhaid credu 'r ddau ryw ddydd.

6. Yn unig ynghrist Iesu cyfarfu 'nghŷd,
Ar frawdol fryd, drugaredd a gwirionedd,
I fyw mewn hedd o hyd,
Maent yno 'n ymgusanau yn gwenu'n gu,
Mewn wllys crŷ; i wared pechaduried,
Sydd dan gaethiwed du,
Pan geisiom ni drugaredd,
Ni rydd gwirionedd inni 'r un,
Fe' i ceidw 'n drist fel aur mewn cist,
Yn hawl i Grist ei hun;
O's awn at Grist i'w cheisio,
A'i gofyn drwyddo 'n iddi ymdroi,
Gwirionedd sydd, lle gwelo ffydd,
Yn hwn yn rhydd i'w rhoi.

7. Ond deliwch sulw ar sylwedd y geiriau,
Hyn: sy yw dallt yn dynn,
Ni thal i ni mo'r credu ond yn yr Iesu gwynn,
'Sef byw ynghrist nid tybio,
Cyn rhodio 'n rhydd a Christ trwy ffŷdd,
Ynom, trwyom, trosom, am danom
Nos a dydd,
Cyn siwred i ni a'n geni,
Y cawn ni brofi hyn mewn braint,
Cyn fyth y cawn, mewn llwyddiant llawn,
Orfeddfa 'r cyfiawn Saint,
Nid sôn am Grist sy'n tyccio,
Nid canu a thiwnio i'w gofio gynt,
Nage, nage, awn atto fe,
'N lle adrodd geirie gwynt.
8. Awn atto heddyw heno ond ceisio cawn,
Drwy Dduwiol ddawn,
Mae'n derbyn pechaduried,
Dan faich a lludded llawn,
Holl waith ein hiechydwiaeth,
Fe a'i gwnaeth i gyd, pan fu'n y byd,
'Does dim yn fyrr o hynny,
Mae wedi 'n prynu 'n ddrud,
Ond eisiau i ni fynd atto,
A glynu wrtho heb wyro 'n bur,
O hyd ein hoes, gan deimlo ei loes,
Wrth gario ei groes a'i gur,
Hedd yw mae fe 'n galw ar i ni godi,
O feirw i fyw; y foru gall,
Fod arnom ball, yn awr, mae deuall Duw.
9. Un peth fydd angenrheidiol i ddynol ryw,
Peth hynod yw, ymuno mewn gwir,
Gariad; modd diwad a Mab Duw,
Clywsom sôn o ddifri am eni dyn,
O Grist ei hun, neu megis ei ail fwrw,
Ar ddelw loyw ei lun.

Mae ſôn drachefn am urddas,
Gwir briodas addas wedd,
Rhwng Criſt a ni, mewn braint a bri,
Hyn ſy'n cyhoeddi hedd,
Mae'n rhaid i'r cywir griſtion,
Brofi'n gyfion hyn i gyd,
Gyda ſôn mewn oeredd dên,
'Madroddion meirwon mud.

10. Mae felly'n beth naturiol, i'r Duwiol gael,
Nefolaidd fael; wedi genhedlu yn yſpryd,
Yr Ieſu hyfryd hael,
A'i wneuthur yn briodol,
A'i freiniol frawd, fel gwraig un gnawd,
Hon ydyw 'r wŷſg briodas,
Mewn urddas i ni a wnawd,
Heb hon nid allwn atteb,
Pan farno purdeb Duw ni i'r pair,
Ond mynd yn ſûd, y cyfyng brŷd,
Bo reitia agorud gair,
Gweddiwn o'n calonne, gael Criſt a ninne,
I fyw yn un; dwg at ei dâd,
I'r nefol wlad, ei briod hâd ei hun.

11. Mae oedran Criſt oreuſant, mil ſeithgant lawn,
Yn amlwg iawn,
Triugain mlwydd mae'n eglur,
Mewn cyfrif cywir cawn,
Cofiwn hyn drwy 'n henioes, nad oes i ni,
Na braint na bri,
O'r nefoedd heb iachawdwr,
Yn lân offrymwr ffri,
Nag un iachawdwr hefyd, heb undeb,
Yſpryd: rhyddid rhydd,
Nag undeb chwaith, mewn pechod maith,
Annuwiol daith bob dydd,
Dowch ceiſiwn daer weddie,
Am ffŷdd i deithio yn ffordd y doeth,

 Rhag

Rhag bod yn ol, fel morwynion ffol;
Yn ſtol 'r annuwiol noeth. *Diwedd.*



CAROL yn cynwys tair yſtyriaeth; y cynta fydd yn dangos truenus gyflwr dŷn, dan bechod gwreiddiol: a'r ail, yſtyriaeth fydd am waith grâs; y drydedd ſy'n dangos am nodau 'r gwaredigion. I'w ganu ar y fedle fawr.

XI.

1. GWrandewch ar ganiad gwîr adroddiad,
O dair yſtyriaeth mewn dwys doriad,
Yw ſyniad yma 'n ſynn,
Yr yſtyr cynta yw'n cyflwr ni yma,
Dan bechod gwreiddiol yr hen Adda,
Mewn gwaſgfa dalfa dynn;
A'r ail yſtyriaeth helaeth yw,
Gwaith gras y gwirdduw ſanctaidd,
A'r modd y mae 'n rheoli 'r fron,
A'r galon yn dirgelaidd,
A'r trydydd ſy'n arwydd,
Pwy ydyw 'r ufudd rai;
Diogel waredigion ar fynydd *Seion* a ſai.
2. Yr yſtyr cynta i chwi mynega,
Treuni dynion trwy nod ana,
'R hên Adda garwa gur,
Maent mewn gelyniaeth ac anghrediniaeth,
A du bwdr anwybodaeth, o'r gyfraith,
Berffaith ban;

Mae

Mae dŷn wrth natur eglur yw,
Yn farw i dduw a'i fowredd,
Yn ddwl yn ddall mewn pechod fwrth,
Yn ymbell oddiwrth wirionedd,
Dan enw anianol yn ddŷn annuwiol noeth,
A'i yrfa, 'r ffordd letta yn benna i uffern boeth.

3. Pechod gwreddiol etifedd diafol,
Sy fel torr greithiog y Sarph ragrithiol,
Yn dangos reiol raen,
Gwna i ddŷn ymdeimlo 'n efmwyth arno,
A'i elyn ynddo am ei ddinistro,
Heb ofio ei flino o'i flaen,
Prin iawn y barna 'r dŷn ei fod,
A natur pechod ynddo,
Oni ddigwydda gwaeth gwg,
Wneud gweithred ddrwg a'i ddwylo,
O's gwna niwed mewn gweithred mae'n dechreu,
Gweled gwall,
Osgatfydd fo genfydd fod arno beunydd ball.

4. Ond etto wrth ystyr y goreu ei natur,
Corph pechod sydd ym mhob creadur,
Nôd anwir dyna ei dwnn,
Nid yw gweithredon, y gwaftaha o ddynion,
Ond ceingliau ceimion a darddafon,
O hên fon cyffion hwn,
Mae'r corph fylweddol yma nglŷn,
Ym mhob rhyw un, a'r aned,
Er nad yw 'r ceingliau drwg di drai,
Yn tyfu o rai gan amled,
*Paul* ddifri oedd yn gwaeddi,
Pan ganfu fryntni ei fron,
Rhag diffeth lywodreth, corph y farwolaeth hon.

5. Hon yw'r elyniaeth a'r yfgariaeth,
Rhwng Duw a dynion wrth naturiaeth,
Gwnaeth hwn wahaniaeth hynt,
Hwn ydyw colyn angeu a'i ddychryn,

Ac arwynt gwenwyn y sarph gyndyn,
A chwthai 'r gelyn gynt,
A'r pechod ymguddia 'n gel,
Pa ddŷn a wel ei waelod?
Ni ddichon neb ond Duw ei hun,
Roi Drŷch i'r un i'w ganfod,
Hwn ydi 'r cyfeiliorni su'n soddi 'r pharised,
Fo ddalle eu calonne rhag rhodio llwybre cred.

6. Wel dyna hanes byrr a roddes,
Am bechod gwreiddiol sy yn ein mynwes,
Yn cadw lloches llid,
Yr ystyr nesa at hwn y tynna,
Sef gwaith grymus dowpus dyna,
Y pwngc howddgara i gid,
Pan ddelo gras yr Iesu ei hun,
I galon dyn yn dyner,
Hwn sydd yn iawn ddatguddio'r nod,
Am bechod a'i holl ffalster,
Fe ddengys, yn hysbys fath fwystfil
Ofnus yw,
Yn bwrw 'n wiberedd anwiredd gafredd gyw.

7. Mae pechod wedi cael ei eni,
Yn gnawd anianol gyda nyni,
Sal yw 'r trueni sydd,
Ond grâs yw cariad Crist a'i anadliad,
Trwy ail anedigaeth,
Mae'n cael dygiad i'r galon gauad gudd,
Hwy ydyw 'r perl sydd decca ei hun,
Pan 'dwaeno dŷn ei anian,
Gwerth oll a feddo i gyd yn grwn,
I brynu hwn ei hunan,
Hwn ydi 'r goleuni, a'r olew i losgi 'n lamp,
A'r hedyn mwsterdyn,
A'n fonyn gwlyddyn glamp.

8. Gair Duw 'r gallu, sy'n ei genhedlu,
Mae 'n dechreu megis, llin yn mygu,

Lle rhydd Duw synnu ei fod,
A'r galon gnawdol sy 'n wrthwynebol,
I'r gwaith ysprydol cynydd bywiol,
Cynhyrfol nefol nod,
A gwir waith grâs yr Arglwydd iôr,
Sy 'n esgor mewn iawn wyfgiad,
Ar y dyn newydd dawn y ne,
Yn etifedd gore tyfiad,
Dirgelwch yw gwaelod gwaith hynod Duw ei hun,
Mae ei ysgog rymus-gall,
O gyrredd deuall dyn.
9. Hyn sy'n ddieithrol i rai pobol,
Pa beth medd rhywun ydyw y rheol,
A'r ffordd wahanol hon?
Hon ydyw rheol, y ffydd grislnogol,
Mun Duw greadur newydd nefol,
Gwir freiniol ger ei fron,
A llawer man o air Duw gwŷnn,
A wiria hyn o arwydd,
Mae rhaid ein gwneud trwy ras a chred,
Yn wir greaduried newydd, 2 *Cor.* v. 17.
Y credadyn cry dedwydd, *Gal.* vi. 19.
Creadur newydd yw,
Ni fyn y nefoedd un iddi,
Nes y byddo ei eni o Dduw.
10. Hyn yw gweithrediad grâs drwy gariad,
Troi tueddiad cyfnewydiad,
Iawn dyniad yn y dyn,
Ond deuwn bellach a chrybwyllwn,
Y trydydd ystyr cywir gwestiwn,
Dilynwn yma ei lun,
Hwn yw'r gofyniad holiad hir,
Pwy ydyw 'r gwir ffyddloniaid?
Neu 'r gwaredigion union wedd,
Gwâr ddofedd gywir ddefaid,

With

Wrth fodde eu buchedde ceir node eu ffrwythe hwi,
Yn abal anhebyg i'n dull anelwig ni.

11. O air Duw union wir drwyeniaeth,
Nag arbedwn roi gwybodaeth,
O hyn o ystyriaeth dwys,
'Sef am y ffyddlon waredigion,
Sy 'n cario Coron brenhin *Seion*,
Mewn llawer moddion mwys
Nid meddwon na masweddwyr chwaith,
Nid tyngwyr araith ddiras,
Nid neb sy'n rhodio yn ôl y cnawd,
Nid cybydd frawd i *Demas*,
Nid Twyllwyr rhodreswyr nid Cenfigenwyr yw,
Nid beilchion nid trawsion,
Mo waredigion Duw.

12. Mae lle i rhai'n etto i gyd ond ceisio,
I fod yn waredigion iddo,
Drwy 'mroi i grio am râs,
Ond rhaid eu symud a'u dychwelyd,
Drwy wrol asbri 'r duwiol ysprydd,
Oddiwrth eu bywyd bâs,
Y gwaredigion ydyw 'r praidd,
Sydd rhag y blaidd yn diangyd,
Gan deithio o hyd drwy 'r byd a'i boen,
Ar ol yr oen eu 'nwylyd,
A'r Oen euraid diniwaid,
A'u gwared dyna 'r gwir,
Oddiwrth feichie eu pechode,
A'u holl flindere ar dir

13. Trwy eneu 'r prophwyd fe fynegwyd,
Beichiogai morwyn bur ei bywyd,
Ar fâb mewn mebyd mwys,
'Sef Crist oddiuchod i roi gollyngdod,
A gwared pawb o'i bobol briod,
Rhag pechod penod pwys,
Oni chawn ni 'r gwaredwr gwir,
Rhag pechod anwir wenwyn,

Ni wared mo'nom ond trwy râs,
Rhag uffern eirias erwyn,
Am mai pechod yw 'r achos, o uffern geuffos gaeth,
Ac o's tario, wnawn ynddo,
Mae 'n siwr awn yno 'n saeth.
14. I hyn y ganed Crist gogoned,
Er mwyn gwared ei holl ddefed,
Rhag pechod tynged dost,
Mae pechod etto a'i ffordd fel *Pharo*,
Am rwymo dynion i fyw dano,
A'u ffrwyno 'n fawr eu ffrost,
A'r gwaredigion oll a gred,
Mai caled mae fo 'n delio,
Nhw ffoant o'r *Aipht* rhag gwobr gwaeth,
Gan swn marwolaeth sy yno,
Rhaid diangyd am fywyd,
Yr Iesu a'i hyfryd râs,
Marwolaeth ddi waelod,
Yw cyflog pechod câs.
15. Y rhai'n yw 'r ethol hâd brenhinol,
A'r tŷ ysprydol o feini bywiol,
A reiol wraig yr oen,
Ar un fawr eglwys fawr filwrus,
Ymdrechwyr awchus i baradwys,
Drwy bob helbulus boen,
Y rhai'n yw plant y wîr wraig rŷdd,
A theulu 'r ffŷdd gatholig,
Sy 'n sugno didwyll laeth y gair,
Grymus-air goreu miwsig,
A dyma rhai ordeinwyd,
I fywyd hyfryd hir,
Y doe 'r *Shiloh* groeshoelied,
Yw gwared dyna 'r gwir.
16. Ond da i ni glywed gwir agored,
Cyn myned fel y *Babilonied*,

Oedd

Oedd râdd o anghred ryw,
Am ddringo 'n gyfrwys i baradwys,
Wrth eu gallu, nerth ac wllys,
Heb gyngor downus Duw,
Mae 'n rhaid cael ysgol *Jacob* gu,
Sef gallu 'r Iesu oreusant,
Ac esgyll clomen *Noah* gynt,
I gynal gwynt gogoniant,
A ffordd sanctedd gwirionedd,
Cyn mynd i'r annedd wen,
Duw 'n dysgo ni ar honno,
Hyn 'rwi'n ddymuno, Amen.

*Hwn a wnaed yn y flwyddyn, 1757.*



## CAROL Plygain ar Greece a Troy.

### XII.

1. WEL dyma 'r ddefod gosus,
A'r dŷdd sydd anrhydeddus,
I ganu moliant melys, parchus pur,
Am eni Crist ein brenhin,
Yn gwared a'n hamdiffyn,
Rhag maglau 'r cythraul cethin,
Gerwyn gwr,
Yr ŷm ni bawb yn hysbys, o'r anaf gwymp,
Truenus: Enbydus cyn ein bod,
Yn nyddiau 'n hên dâd *Adda*,
Anufudd a'n mam *Efa* 'n rhieni clafa, en clôd,
Nyni a glywsom ddarllen,
Y gair a wnaed yn gywren i ni gynt,
Yn nechre llyfre *Moses*,
Am dwyll hudoliaeth dilea.
Mae hanes am eu hŷnt,

2. Dichellion Sattan gyfrwys,
Pan gollodd hwn baradwys,
Oedd ceisio mynd yn wiwlwys yn ei ol,
Ac nid oedd ffordd o ddiangfa,
Iddo fyned i orphwysfa,
Nag ynnill yno eisteddfa ei hên ystôl,
Ond 'r ydoedd o 'n grwydredig,
Yn yspryd anweledig iddyn creuedig ryw,
A malais fawr i dwyllo,
Y dŷn oedd newydd ffurfio,
'S cae ganddo ddigio ei Dduw,
Ac ni allai ddangos allan,
Mo'i hynod rith ei hunan aflan wg,
Rhag ofn y bwrient amcan,
Amheueth arno 'n fuan,
Ei fod o'n darogan drwg.

3. Fo welai 'n fwy cymhesur,
Ymrithio ar lun creadur,
I ddweud ei brofes brysur llythyr llawn,
Gan dybio mai 'r creaduried,
A wnaethai Duw gogoned,
A goeliai 'r dyn diniwed gynta 'n iawn,
Lluniasai Duw 'n gyffredin,
Ymlusgaid mawr a bychin,
Ac adar edyn llaes,
A'r sarph oedd fwy gwybodol,
Na'r holl fwystfilod cnawdol,
Grymusol ar y maes,
A'r gelyn fel hyn ynta,
Ar lun a dull y doetha ei dwyllo daeth,
I 'mweled a'n tâd Adda,
Ond at y llestr gwanna 'n mam Efa rwydda 'r aeth.

*Y sarph yn gofyn i'r wraig.*

4. Ai diau ddweud or Arglwydd,
Na chewch chwi fwytta o ffrwythydd,

Yn pren gwybodaeth dedwydd hylwydd hwn?
Fel hyn attebai 'r fenyw,
Gorchmynodd Duw ei gadw,
O's bwyttwn, byddwn heddyw, meirw mi wn,
Ni fyddwch ddim yn farwol,
Er bwytta 'r grawn danteithiol,
Dymunol ffrwythol ffri,
Ond gwneir chwi megis duwiau,
Fel Duw, a Duw fel chwithau,
Mo'r oleu eich breintiau a'ch bri,
Gwrandawai 'r wraig yn fuan,
Arno 'n dweud yn gyfan hyn ar goedd,
Fe flysiodd chwant naturiaeth,
Gael bwytta o'r pren gwybodaeth,
O's d'alltwriaeth, odiaeth oedd,
5. Ac fellu nhw fwyttaeson,
Wrth ryfedd a thorafon,
Orchymmyn Duw a gowson eu dau gynt,
Am ddigio Duw ei hunan,
Fe' i troed ei natur aflan,
Newydwyd agwedd egwan ei hanian hwynt,
Y galon wîr fanctcidd lan,
Oedd deml Duw ei hunan,
Drwy burlan bwyll,
A wnaed yn ogof lladron,
Neu yspyttŷ gwag ysprydion,
Llu deillion llawn o dwyll,
Ym maes y gwenith gore,
Yr hauodd Sattan efre llyfie llêfg,
Yn lle twyfenau llownion,
Ni chai 'r llafurwr ffyddlon,
Ond gweigion hirion hêfg.
6. Ar bechod pan esgorwyd,
Y ddaiar a felldithwyd,
A ninnai lwyr anrheithwyd yn ein rhyw,
Fe orfu i'r tir oedd ffrwythlon,

Ddwvn

Ddwyn drain ac ysgall gwylltion,
Am dorri o ddŷn orchmynion,
Dysnion Duw,
Teyrnasodd angeu 'n fuan,
A phob creadur anian ae'n druan dan ei droed,
A dygodd llygredigaeth,
Y dylodedd bridd deiladaeth,
I'r pridd eilwaith yn ddi oed,
Ar adail anweledig, ysprydol oes buredig,
Hir barhâd,
Oedd tan y farn dragwyddol,
I'w nesu i'r ffwrn dân ysol,
Wrth haeddol gyfiawnhâd.
7. Cyfiawnder Duw oedd ddigllon,
I'n troi ni n garcharorion,
Nad allai rhwydda rhoddion mo'n rhyddhau,
Trugaredd oedd yn canfod,
Ein carchar byth heb ddarfod,
Hi a godai i geisio cymmod heb neccau,
Cyfiawnder byth heb attal,
A fynnai waed i ddial,
Am wneuthur diofal dwyll,
Trúgaredd ar ei gore, oedd yn ymofyn meichie,
I fadde ei beie,
Drwy fawr bwyll,
'Roedd rhaid cael aberth prydlon,
A gyllwng gwaed un cyfion,
Rhoddion rhwydd,
Ac nid oedd angel perffeth,
O fewn yr holl greadigeth,
'Wnae wasaneth hyn o swydd.
8. Duw tad anfeidrol fawredd,
Sydd un yn dri di ddiwedd,
Tri pherson mewn un sylwedd gweddedd gwiw,
'R ail person cenhedledig,
O'r drindod bendigedig,
[illegible] cyfryngwr diddig o flaen Duw,

Wrth weld fod pob drud aberth,
A gwaed creaduriaid prydferth,
Yn ddinerth werth am ddŷn,
Fe ddaeth yn wîr waredydd,
Dan ddwylo 'r du ddialydd,
Hyn oedd ddihenydd iddo ei hun,
Dadleuai o flaen cyfiawnder,
Mae genif dan dy digter,
Hyder hedd,
Cei olchi 'th dwylaw 'n lanwaith,
Yngwaed fy nghalon berffaith,
I ladd gelyniaeth min dy gledd.

9. Y cyfammod hwn pan luniwyd,
Digofaint a ddiffoddwyd,
Ac yno rhoed addewyd rhâd i ddyn,
Cyfiawnder erbyn hynny,
A thrugaredd ymgyfarfu,
Nhw gowsant ymgusanu 'mglymmu ynglyn,
A'r amser pan gyflawnwyd,
Blodeuodd pren y bywyd,
Ganwyd prophwyd hyfryd hedd,
Yn anwyl oen eneiniog,
O gnawd *Maria* rywiog,
Gu enwog lân ei gwedd,
Yn Dduw anfeidrol allu,
Yn blentyn bâch mewn beudŷ lletty llwm,
Yn Frenhin rhwng *Cerubiaid*,
Yn waeledd rhwng nifeiliaid,
Och! Saledd oedd ei swm.

10. Pan aeth e'n wythnos oedran,
Enwaedwyd arno 'n fuan,
I gadw 'r ddeddf yn gyfan oll i gyd,
A'r gyfraith gaeth a gadwodd,
Un pwngc erioed ni thorrodd,
Pob pechod fe 'i harbedodd yn y bŷd,

Ond

Ond etto 'roedd y gyfraeth,
Yn gofyn ei feichniaeth,
Am lygredigaeth dŷn,
Er cymaint ei deilyngdod,
Am gymryd arno bechod,
Caes roi ei hynod waed ei hun,
Cadd dalu 'r ffyrlŷng eitha,
Dros feiau 'r Dynion gwaetha,
Brynta eu bron,
A hynny wnaeth ar unwaith,
Rhoes iawn oedd gwbl berffaith,
I'r gyfraith helaeth hon.

11. Rhoe 'r nefoedd yn agored,
I'r penna o bechaduried,
A ddeuai i geisio ymwared gan Dduw mawr,
Mae pechod wedi ddamnio,
Siol Sattan wedi figo,
Pa beth fydd yn ein rhwyſtro;
Ni yno yn awr,
Mae etto rwyſtrau cryfion,
'Sef angredinaeth dynion,
A'u llwybrau ceimion câs,
Am nad oes fawr yn gwerthu,
Mo'u pechod er mwyn prynu,
Y gwir Jeſu goreu ei râs,
Ond odid rhai a ddweudan,
O's prynodd Criſt ni 'n gyfan oll i gyd,
Pa fodd y bydd colledig,
Un dyn er maint ei ryfyg,
Does arnom beryg yn y byd.

12. Criſt hyn ſy'n ddigon eglur,
A brynodd bob pechadur,
Wrth wiſgo'n cnawd a'n hamhur, natur ni,
Er mwyn gwneud ffordd i ninne,
I wiſgo ei natur ynte,

Drwy gario glân galonne ffrwythe ffri,
Bu farw dros y cyfan,
Fel na chae'r byw mewn unman,
I fyw ynddo ei hunan hedd,
Ac ned i fuchedd aflan,
Y prynodd Crist ni i'w gorlan,
Ond i anian wiwlan wedd,
Pob un sy'n disgwyl nodded,
Gan Jesu Grist, madawed yn ddi dwyll,
Oddiwrth bob anghyfiawnder,
Gwarddedig blysig bleser,
Gan arfer purder pwyll.

13. Mae oedran Crist oen gwirdeg,
Yn ben dau cant ar bymtheg,
A deigain mlwydd a deuddeg,
Lawn a dwy,
O ceisiwn oll ymgadw,
Rhag pob gweithredoedd meirw,
O's cawn ni ar ol heddyw dreial hwy,
Ceisiwn edifeirwch,
Da ystyr duwiol dristwch,
Gwneud heddwch a Duw 'n Tad,
Cytunwn a'n gwrthwynebwr,
Tra bytho Crist yn fforddiwr,
Gwaredwr goreu ei râd,
Rhown barch o burder calon,
I wyl yr Jesu rasson dirion dwr,
Rhown heibio wag chwareuon,
Mae gwir lawenydd cyfion,
Yn seion i ni 'n siwr,

Diwedd.

## CAROL I gynulleidfa Clwb, ar fefur *Farwel Ned Pyw*.

XIII.

FY ngharedigion union Iaith,
Mewn torriad taith naturiol,
Sydd wedi ymgafglu i'r gorlan glyd,
Ar achos yn gyd-ddrychiol,
Chwi ddaethoch yma 'n llowna llu,
Fel howddgar deulu dilys,
I dderbyn addyfg Duw 'n ei air,
Mae 'n waith dianair downus,
I wrando gwafaneth, hoff rugul a phregeth,
Cynghorion yftyrieth, wrth rowiog Athrawieth,
I garu Brawdolieth a'i dilyn,
Nid oes un o honoch gan ffoled na wyddoch,
Y diben y daethoch, a'r ddyled fydd arnoch,
I'r Arglwydd na chammoch ei orchymyn.
2. A dyma 'r adeg deg a dâ,
I wledda mewn hwyl addas,
Yn gwmni brawdgar clauar clyd,
Cu ethol frŷd cyweithas,
A chofiwn y gorchymyn fy,
I'n galw i garu ein gilydd,
Gan helpio 'r gwan a hybu hwn,
A chario ei bwn ef beunydd,
Ond ple mae gorchymyn, gair Jefu gu refyn,
O's planwyd yr hedyn, Edrychwn mewn dychryn,
Oes ganddo fe wreiddyn i arwyddo,
Lle planno Duw 'n anwyl, had gair yr efengyl,
Di efgus mae 'n difgwyl, o'i eirchion a'i orchwyl,
Am ffrwythau 'mhob porwyl ympirio,

3. Ni wiw pregethu teyrnas ne,
Na dangos geirie o gariad,
Ni ymddengys ffrwyth paradwys wen,
Lle bo cenfigen fagad,
O's llid ac ymryfonau fy,
Hawdd i ni farnu yn gymwys,
Mae yn ôl y cnawd yr ym yn byw,
Heb yfpryd Duw 'n ein Tywys,
St. Paul fy'n rhoi gole, i weled y node,
Mai llid ymryfone, ymfennu croes ddadle,
Yw ffrwythe drwg gnyde rhai cnawdol,
A dyma flaen darddiad ffrwyth yfpryd mabwyfiad,
Tanghefedd lân dyfiad,
Gwirionedd a theimlad,
A chariad mewn dygiad cymdogol.

4. Mae cynlleidfaon hyd y wlad,
Mewn ymddanghofiad weddus,
Yn clybio eu harian, gweithred hoff,
I gadw'r cloff a'r clwyfus,
Mae hynny 'n burion yn ei le,
O's bydd calonne ffyddlon,
I drin y fwydd yn rhwydd mewn rhol,
Yn rafol heb ymryfon,
Drwg lyfie mewn pwyfi, fy'n chwerwi ac yn drewi,
Yn ffiedd arogli, y lafant a'r lili,
A'r rofe mari tw gerddi teg urddas,
A chenfigen drwg foefe, yn troi 'n helufene,
Yn wrthun Aberthe, heb garu'n cyd radde,
Mae ffrwythe 'n rhinwedde 'n anaddas.

5. Aberthodd Cain er hyn i gyd,
Roedd ynddo lid Gelyniaeth,
Gweddiau 'r Pharifed er hyn,
Roedd gwenwyn yn ei gweniaeth,
Ac Ananias a'i wraig wen, a roent Elufen lwyfedd,
Heb dderbyn llwyddiant na gwellhad,
O herwydd cariad oeredd,

Eu

Eu barn fu gyhoeddus, drwy angeu gwradwyddus,
Am rannu i'r anghenus, Elusen dwyllodrus,
A chalon awyddus, anweddol,
Mae barnedigaethe, mor gyfion i ninne,
Ac oedd iddynt hwythe, oni chymrwn ni siample,
Wrth node eu hên greithie, rhagrithiol.
6. Y diffyg mwya sy yn ein gwlad,
Yw diffyg cariad brawdol,
Pe ceid yn lloegr wraidd ei hâd,
Hi ae'n *Ganaan* wlâd ddigonol,
Mae ynddi ddigon o bob peth,
At wneud bywolieth hwylus,
Pob math o ffrwythau ordeiniai Duw,
Ped fai ni 'n byw 'n gariadus,
Ond beth a dâl Mamon,
Trysorau tra surion,
Gwinllanoedd yn llâwnion,
O ffrwythau cyfreithlon,
A dynion heb goron o gariad,
Er hardded eu hurddas, yn cadw cymdeithas,
Bydd diben eu pwrpas, 'r un dymer a *Demas*,
Geill pawb yn y deyrnas eu dirnad.
7. Heb gariad Brawdol gweddol gwiw,
Ni chyfri Duw gogoned,
Mo'n helusene gore eu gwerth,
Ond megis aberth ffylied,
Cariad gynt oedd sylfaen gwaith,
Y Gyfraith a'r Prophwydi,
A Christ a'i Apostolion pur,
Nad allai dur mo'i dorri,
Ac oni cheiff cariad, fod etto 'n sylfaeniad,
Yn cynal amcaniad,
Pob Brawdol gynhaliad,
Ni wna nhw fyth deilad i dalu,
O ran cariad yw cwbwl, fodlonrwydd y meddwl,
Er cymaint y cwmwl, o dersysg a thrwbwl,
Fe i ceidw nhw 'n fanwl i fynu.
 8. Ystyriwn

8. Ystyriwn fel yr ym ni 'n byw,
Pa un a'i Duw a'i Mamon?
Yr ŷm ni fwya yn ufuddhau,
Rhown farn o enau union,
Mae genym ddynol ordinhâd,
Rhag Tyngu lleſiad llyfon,
Tra bo ni am ddwyawr yn y tŷ,
A'u celu nhw yn ein calon,
Attelir y llywon, fe'i gwthir yn gaethion,
Er mwyn euddo Mamon,
Yn fwy na gorchymynion,
Y cyfion dda union Dduw enwog,
Wrth hyn gallwn adde fod yn ein calonne,
Lai pris ar dryfore, 'r ddau Destament gole,
Nag fydd ar degane dwy geniog.

9. Attal llywon coegion câs,
Yw gweithred gras yn gynta,
A throi pechodau 'r genau 'n fud,
O'r mwya hyd y lleia,
Fel ceingciog bren ynghanol perth,
Yw Tyngwr anferth ynfyd,
Gweithrediad grâs i lawr a'i tyrr,
Pan raenio mewn byrr ennyd,
Mae'r penfaer cyfarwydd,
Heb ddechre mo'i gelfydd,
A'r goed fy'n y llwynydd yn tyfu 'n wyrgamwydd,
Heb arnynt naws arwydd mefure,
A gras gwirioneddol, heb ddechre 'n gynhyrfol,
Mewn dynion anianol, fy ac araith uffernol,
O afrol anfoesol wefuse.

10. A bario llywon hyn fydd fiwr,
A wna pob Tyngwr afraid,
Pan ddelo grâs fel hedyn gwan,
Unwaith i ran yr enaid,
Beth yw dwy geniog o ddylêd,
I fod yn fforffed arnom,

Pan

Pan ddown ni 'n llu i'r Dre neu'r Llan,
Neu 'r fan y cyfarfyddom,
Heb ras Duw gogoned, pa faint ydyw 'r fforffed,
Pe medrem ystyried a chyffrif y golled,
Dim llai nag yw'n hened ein hunen?
Gweddiwn am gynydd, mewn grâs a gwir grefydd,
Fel y bo ni byw beunydd, 'n un galon a'n gilydd,
I foli 'n pen llywydd yn llawen.

11 Penod ein cyfarfod fydd,
A'r nodol ddydd Enwaediad,
Y dydd cadd Jesu 'n faban gwan,
Ei rwymo dan 'r ordeiniad,
Ac ar y diwrnod hynod hwn,
Rhoed arno bwn o benyd,
I felie dan y ddeddf i gyd,
I'w chadw cyd a'i fywyd,
Aeth dan ei chyfrifon' oedd fanwl ofynion,
Aeth dan ei melldithion,
Ac eitha ei bygythion,
Oedd fwy nag y gwyddon i'w godde,
Cyfiawnder Duw 'n fuan a fachai ynddo 'n fychan,
Gofynai o'i waed purlan,
Yn wyth niwrnod oedran,
Am bechod dyfn anian ddefnynne. *Diwedd.*

---

## Carol Ar Dole Bell, neu Clôch alar, a wnaed ag a ganed ynghymdeithas Clwb *Llangollen*, y flwyddyn, 1759.

XIV.

1. CLOWCH, Clowch: Gynlleidfa ffyddlon dirion [dowch,
Mewn bwriad da ymbarodtowch,
A throwch

A throwch at un a thri, [byw,
Beth sydd howddgarch yn y byd, na gweled brodur yn
Ynghyd; Mewn caredigol, frawdol fryd,
Fel defaid o'r un gorlan glyd,
Mewn pura hedd yn para o hyd,
Gan gynorthwyo 'r naill y llall;
O'r gwael i'r gwŷch lle gweler gwall.
2. Da, da: Ydyw gweithred hoff i'r cloff ar clâ,
Nid eiddo ei hun i'r dyn yw 'r dâ,
Pwy na chyfranna a'i frawd? [fodd i fyw,
Trysoreu 'r byd ordeiniodd Duw; I ni fe'i rhodd yn
Creaduriaid rheidiol o bob rhŷw,
O fôr a thir ei fowrwaîth ŷw,
Ehediad nêf pob llef a lliw,
Maent etto i 'n rhan er maint eu rhi,
I fod yn awr yn fwyd i ni.
3. Mawr, mawr: Na ystyriem ninnau 'n ftor yn awr,
O Eiddo llywydd nef a llawr,
Mor roddfawr yw ei ras, [ein Tad,
Na fedrem gwedi cael yn rhad, feddiannu tir ag Eiddo
Drwy ffydd a phwyll heb dwyll na brad,
Yn ol ei air a'i ordinhad; gwneud Elusenau o leshad;
Lle bo fylfaeniad cariad cu,
Mae hyn i fod a hynny fu.
4. Byd, byd: Yw hwn iw dreulio heibio o hyd,
Mewn gwaith a gofal dreial drud,
Am fywyd howddfyd hwy,
Mae geiriau Crist yn ein coffau,
Am Dduw mewn gwaith a Mamon gau,
Nad allwn glos wasanaethu 'n glau,
Dan wir ddeddf, ond un or ddau,
Er hyn mae Duw yn caniadhau, [rheini 'n rhwydd
Trysorau amserol yn eu swydd; I wneud daioni a
5. Trais, trais: A thrachwant Elw Garw gais,
Sy'n codi enllibaidd Lewaidd lais,

Och,

Och, oera clais ir clwb,
Os yn ein mysg, bydd dysg a dawn,
I'w drefnu 'n oneſt ag yn Iawn, [gwneir yn llawn,
Or dâ yn ei gwrs daioni gwan, y gwan ar llesg fe
Ond os i genfigenu 'r awn, [iddyn drwg.
Yr ariangarwch oera gwg, Ar eiddo dro'n yn wre-
6. Gwir, gwir: Nid gwreiddyn un drygioni 'n glir,
Ond gwreiddyn dyfn pob drwg ar dir,
Y gelwir henwir hwn,
Gorthrymder Trawſter, Balchder byd,
Segurud meddwdod trallod drud, [i bryd,
Swydd ymgais trais, a malais mud, brad a briw o bryd
A phob anghariad ſy ynddo nghyd, [ei hâd.
Pob pechod arall dileſhad, o raddau hwn daw wraidd
7. Wel, wel: Oni ddylai 'n ffydd ni ddal yn ffel,
Os gwreiddyn pob drigioni del, yr ŷm yn ei hel ynghyd,
Rhown weddi am ras di fas i fyw, [Duw,
Fel brodur ffyddlon radlon ryw, yn cario Enw a delw
Mewn cariad ag agweddiad gwiw,
Trwy fwyna fel o'n trefnus yw,
Fod cynulleidfa o gymaint lled,
Yn dilyn Criſt, yn deulu cred. [hoes,
8. Croes, Croes: ym ninne i hyn yn nyddiau ein
A llawn oferedd fafwedd foes, pwy etto droes ei drefn?
Er hyn ir eglwys gymwys gor, [gwan yſtor,
Down i weddio dan-Dduw Jôr, fel rhai 'n yſtyrio ein
Pan ddeuwn allan dros y ddôr,
Troi yn y man fel trai yn y môr, [un a thri.
Cilio 'n ol maen calon ni, Rhag iawn athrawiaeth
9. Cael, Cael: gwir fwn gwaſanaeth helaeth hael,
A phregeth ddownus felus fael,
Cynghorion diwael dwys,
A model gwinllan ſur ei ffrwyth,
Mewn gwychni trachwant methiant mwyth,
'N aflawen drin yr aflan drwyth,

O bechod

O bechod llawn gwneud baich yn llwyth,
Ag yn ein byw ni wnae ni bwyth,
Ond calyn natur eglur yw,
Sydd wagedd daith i ddigio Duw.
10. Doeth, doeth: mae Iago 'r cu apostol caeth,
Yn adrodd gair gwirionedd noeth; mae'n boeth ir annoeth un,
Nad eill un ffynnon roi dau ryw,
Dwr hallt a chroyw 'n loyw liw,
Na thafod dyn addoli Duw, ag yn y man ei anian yw,
Enllibio brawd mewn lle bo briw,
Mae hynny 'n amal yn ein mysg,
Ymrown yn ddoeth cymerwn ddysg.
11. Paul, Paul: cynghorian hwn gwnawn ar eu hol,
Rhown heibio groes gwestiwnau ffol,
Apsenol afrol iawn,
Heb dynnu cledd anwiredd wawd; I lwyr anrheithio briwo brawd,
Na gorthrymu 'r dyn tylawd,
Na'i spelio ei ffwrdd i yspwylio ei ffawd,
N. d awn i gnoi mo'n dyn un gnawd, [ledd dda.
Aelodau ydym Iâch â chlâ; I 'n gilydd oll o 'mge-
12. Gwall, gwall: yw i'r un aelod fod mor fall,
Dan swrw llid y naill ir llall, y corph nid all ei dwyn,
Yn ol y gyfraith lanwaith lun; dy synni ddial ar ryw un,
A thitheu heb weled yn dy wŷn, [un dyn,
Dy fod o hyd ar fai dy hun; heb anian groes nid oes
Y gyfraith oreu i gyd a gawn,
Cyttundeb mewn ffyddlondeb lawn.
13. Co, co: y wraig a ddaliwyd cyn cael ffo,
Ar weithred odinebus dro, ag etto ei safio gadd,
Wrth gyfraith nef a daiar gron,
Roedd hi iw llabyddio 'n brudd ei bron,
Pe cowsid gwr heb frycheu i'w fron,
I daflu 'r garreg gynta at hon,

A'r

A'r barnwr ai gollyngai 'n llon,
Am ffoi 'r cyhuddwyr bod ag un;
Bawb wrth ei brofi a holi ei hun.
14. Bloedd, bloedd: yr hen ysgrifenyddion oedd,
Cyflawni 'r gyfraith arni ar goedd,
A'u haeddiant ydoedd hyn,
Drwy resw̄m gwell yr Iesu gwynn;
Cyflawnai r gyfraith hon fel hyn,
Wrth faddeu 'n rhad, drofeddiad fynn,
Dan ei faich oen Duw ni fynn,
Ag un pechadur ddelio 'n dynn,
Cyflawniad cyfraith Duw a dyn,
Yw cariad teg a byw 'n gyttun. [ydd iawn,
15. Gwnawn, gwnawn: o eiddo ein gilydd ddeun-
Ein galw i gyfri i gyd a gawn,
I'r farn yr awn ar fyrr,
Yn noeth y daethom bawb i'r byd,
Yn noeth rhaid etto ymado a mud,
Er bod rhai mewn closdai clŷd;
Y mwya fiar o'r ddaiar ddrud,
Nid yw ar hon, ond Aer ei hyd,
A'i led o'r gro, pan lwydo'r grudd,
Dwyn ein braint mynd yno 'n brudd.
16. Braint, braint: dragwyddol ag anfeidrol faint,
Arglwyddus hedd yw gwledd y faint,
Nid oes un haint yn hon,
Ond mynd i'w cheisio mae hi i'w chael,
Yn barod rwydd ond bwrw 'r drael,
Sy yngair yr Arglwydd hylwydd hael,
Dowch ymofynnwn am y fael,
A'n fwydd na welwn yn rhy wael,
O Iesu raslon *Seion* fant;
Dwyn ni yno i blith dy anwyl blant.

# CAROL Cariad; ar Grimſom Velvet. A wnaed i gymdeithas Clwb yn *Llangollen*, wŷl enwaedìad Criſt: y Flwyddyn 1763.

## XV.

1. GYmdeithas addas weddol, naturiol hardd ei
torriad,
Sydd yma 'n genedl unol, tan enw brawdol gariad,
Clywch ddatgan pwynt pennodol,
Perthynol i'r ſath ddynion,
Sy'n gwneuthur ymgynhulliad,
Ar ſwriad hyn o arſerion,
A dyma'r pwngc ſy'n canlyn,
I'r dyrſa o air di derſyn; gwir orchymyn dygyn Duw,
Sef y gorchymmyn cariad, [rhyw,
Hwn ydoedd o'r dechreuad; yn bura profiad i bob
A'r mwyaf o'r gorchmynion, [union un,
Yw caru heb gelu o'r galon; yr Arglwydd cyfion,
A'r ail or un gyſſelybiaeth, [hun.
Car dy gymmydog eilwaith; ſawl diwahanaeth fel dy
2. Ped ſae ni 'n meddwl canlyn; y ddau orchymyn
Nyni ſyddem yn ddi drwbwl, [yma,
Yn gwneud y cwbwl cyſa,
Ag oni wnawn ni rheini; nid oes mor cyfri o honom,
Ni thal dim arall yma; or gwaith anwyla wnelom,
'R gorchmynion cariad ydi,
Y cedyrn gongolſeini; ſy'n dal daioni dwylo dyn,
Ag heb y ſail a bwyntied,
Ni thal un werthſawr weithred,
Fyth er llyſned ſytho ei llun,

Ni

Ni fail un annedd enyd, heb iddi fylfaen hefyd,
Yr un ffunud i roi ei phwys,
A chariad yw fylfeini, y gyfraith a'r Prophwydi,
Mae'n eu cyflawni 'n ddifri ddwys.
3. Gwnawn unwaith helaith holiad; pa beth yw cariad cwyrain?
Ond caru brawd heb rodres,
Mae 'r hanes fel ni ein hunain,
A gwneud a phawb yn gynnes y lles 'r ym yn 'wyllyfio,
Iddynt hwythe wneud a ninne,
Fel hyn mae'r geirie 'n gwirio,
Rhoi cymorth i'r anghenog, rhoi bara i'r newynog,
Dilladu 'r dyn anwydog noeth,
Cyd ddiodde a'r claf a'r cloffion;
'R amddifaid gwan ar gweddwon,
Dyna arferion dynion doeth, [ganddo,
Gorchmynnodd cariad etto, drwy fel ir fawl fydd
Ddwy bais am dano yfbaried un,
Yn aberth o drugaredd; I'r gwelw truan gwaeledd,
Sy 'n byw 'n bur oeredd heb y run.
4. Wel dyna arwyddion cariad,
Ple mae'r canlyniad lanwaith? [weniaith,
A phwy fy'n gwneud gorchmynion, Duw union ynddi-
Mae 'n cnawd ni 'n barnu 'n barod,
Fod hynny 'n ormod cariad, [ddillad,
I ddyn fod mor haelionus, 'rhwydd wyllys rhannu ei
Ond dammeg ydyw hynny, i ddangos mor analhu,
Yw dyn i berffaith garu'n bur, (honno,
Ond gallwn ddirnad etto, pwy wnaeth y weithred
Heb ddiffygio 'n cario ein cur,
Mae r cariad hwn mor frawdol,
Nid cig a gwaed naturiol, fy'n dderbyniol o hono byth,
Wel bellach mi ddanghofa, (ei nyth.
Ymhle mae'r cariad yma, yn gwneuthur trigfa noddfa
5. Y ffynnon y mae fe'n codi o honi, yw Duw ei hunan,
Yn unig oi ddaionus ddoeth wllys, fe ddaeth allan,

A'i anwyl fab Crist Jesu gadd ei feddianu 'n ddoniol,
A'i dderbyn yn ddau ddyblyg, puredig fraint priodol,
A hwn a gadwai 'n ffyddlon, y gyfraith ar gorchmynion,
Wrth garu' ei elynion gwrol waith,
O gariad ar Dduw 'n ddiwyd, ai gymydogion hefyd,
Offrymmai ei fywyd yma 'n faith, (gwyfgo,
Gan hwn mae dwy bais gyfrdo, un iddo ei hun iw
Ar llall iw 'fbario, 'n euddo i'r noeth,
Sef dau gyfiawnder pybyr, un iddo ei hun heb rwyftyr,
Llall i'r pechadur cyfur coeth.

6. A'r fawl fydd am gyflawni, gair Duw o ddifri i
ddwyfron,
Rhaid iddo wyfgo 'n waftad, wir gariad fel aur goron,
Gan gyfrif nad oes gyfran; ei hunan ganddo o hono,
A chredu y ceiff ef hefyd; trwy ddiwyd daer weddio,
Ymwadu a'i henw ei hunan; yn wael bechadur truan,
A dyn yn gruddfan dan y groes,
A chalon ddrylliog hefyd, ai bechod arno 'n glefyd,
Tylawd o yfpryd yn ei oes,
A gochel rhoi gwag hyder, fod genym ddim cyfiawnder ond y llymder ymhob lle,
Dyma'r fath drueinied, mae cariad yn amgyffred,
Cynefa nodded îs y ne. (union,

7. Ped fae ni 'n cyraedd profiad, o hyn ar dynniad
Caem yma ein gwyfgo a chariad,
Da alwad y duwolion,
Fel gwir gynulleidfa frawdol, priodol blant Paradwys,
Fe fyddai ffrwythau ein cariad,
'N arogliad yn yr eglwys,
Y cariad hwn lle'r ydoedd, fu'n gyru llawer lluoedd,
Drwy dân a dyfroedd, yma ar dir;
Zacceus pan brofai ei dymer,
A rannai ei dda yn eu hanner,
Ni roes ar bower hyder hir,
Nid oes ymhlith ei berchen, na rhagrith na chenfigen,
Na thwyll mewn bargen yn y byd,

Na

Na dim ond teg oneſtrwydd, dwys dirion a diſtaw-
rwydd,
Goleuni hylwydd glan o hyd.
8. 'R gorchmynion cariad perffaith, wrth araith,
Y ſgrythyre: Yw' r ſer goleua i'r duwiol,
Pan agorir nefol gaere,
A rhain yw'r marwor poetha, yn uffern gula galar,
I rhai na dderbyniaſon,
Y fath gynhygion howddgar, (demnir,
Pa beth fydd gan yr anwir; iw ddweudyd pan gon-
Ond dweud yn rhywyr air fel hyn,
Wel dyma warth a dirmyg, am wrthod cariad diddig,
Dewiſol gynyg Jeſu gwynn,
Ped faſwn gynt wrth feſur, yn caru Duw, a'm brodur,
Mi gowſwn gyſur eglur yw,
Y rwan rwi'n cael dirnad,
Mai 'r gair gorchymyn cariad,
Sydd i mi 'n broſiad mwya briw. (mynion mwya,
9. Gan fod yr Arglwydd cyfion, yn rhoi ei orch-
Mewn gair neu ddau o gariad,
Ymrown mewn bwriad bura,
I geiſio gwneud ei wllys yn bwylllus gwyliwn ballu,
Mae gwobor mawr yn Seion,
I bob duwiolion deulu,
Trown galon at eu gilydd, fel wyn a defaid ufudd,
Tra bo ni beunydd yma 'n byw, (pleſer?
Goſtyngwn ymchwydd balchder, beth ſydd hyfrydach
Nag i ni 'n dyner uno a Duw, (ymyn,
Cans hyn mae Duw 'n ei ofyn, arch amal yn ei orch-
Cariad dygyn geiriau teg,
Os torrwn hwn ei hunan, ni feddwn ni yma'n gyfan,
Mae'n wir diogan yr un o'r dêg. (gwirionedd,
10. Hawdd i ni farnu 'n gyfion, wrth union Iaith
Pa yſpryd 'r ŷm ni 'n gynwys, i'n tywys ymhob tuedd,
Os awn ni heno i feddwi ag i ſorri yn achos arian,
Mae cariad yn ein gadel, cyn caffel gafel gyfan,
Gobeithio

Gobeithio hyn fy mrodur, y cymrwn ni bwyll a ſynwyr,
I ddofi natur chwidir chwant,
Ag y ceir ni'n wyr heddychlon,
Yn troi 'n gymdeithas ffyddlon,
Oddiwrth arferion blinion blant,
Mae oedran tywyſog cariad, iw nodi ddydd enwaediad,
Wrth wneud y bwriad yma i ben,
Mil ſeithgant nawſaith hefyd,
Duw roddo ei ras a'i yſpryd,
I ni bob munud bawb, *Amen.*



CAROL arall ar *Kings* farwel, ir un diben, yn dangos fel y mae rhagrith yn ymoſod yn lle cariad, ag nad oes dim gwir gariad ond yr undeb a *Chriſt.*

XVI.

1 CYD ymunwn mewn amynedd,
I agor wyneb y gwirionedd,
Daw cyfrif o'n geirieu a'n holl orchwyliaeth,
Gan Dduw union yn ddi weniaeth,
Goreu yw'r gân a geir o'n geneu,
Wrth gymryd teſtyn o'n cyflyreu, (dechreu,
Holwn hyn, o flaen Duw gwynn, mewn dechryn eyn,
Ymhle mae'n calon a'n meddylieu,
Ar hyn o bryd yn rhoi eu bwriadeu?
Gochelwn ganu heb lyſu o bleſer,
Y mae Duw cyfion ar ein cyfer,
Yn gwylio'n gall, yn gweld ein gwall,
Dull afiaeth dall, ofer,

Mynn

Mynn bwyso à mesur pob ysgafnder,
Wrth linyn barn a phwys cyfiawnder.
2. 'Rŷm ninnau gwedi ymrwymo i'r amod,
Gyfa yrfa i ymgyfarfod,
Dan enw brodur dawn briodol,
Mewn cywir dyniad cariad unol,
Fel un corph yn cynwys ynddo,
Aelodau lawer yn cyd weithio,
Er parch a chlod, mae'n gofyn bod, pob aelod o hono,
Yn caru 'r llall, nid all fod hebddo,
Dros ddioddef gofid gydag efo,
Mae hyn' o ftâd cynhaliad hylwydd,
Yn burion ystyr mewn gonestrwydd,
Ag angenrhaid, yw plannu plaid, fel defaid ty dafydd,
A fafo 'n gwlwm efo eu gilydd,
Ar fryd arafa yn frodur ufudd.
3. Gwyliwn demptafiwnau 'r cythrel,
Sydd ai ergyd yma 'n ddirgel,
A gwyliwn gynal clwb o gynnen,
Giaidd obaith a gau ddiben,
Byw Dan Enw bod yn frodur,
Gwall rhy greithiog geill rhagrithwyr,
Un ai ftâd, reiol rad, o gariad pur geirwir,
Neu 'mado 'n loyw ar enw anwir,
Torri 'r undeb pawb iw randir,
Be dâl priodas gwyr a gwragedd,
Oni bydd cariad yn eu cyredd, (dydd, diwedd,
Gwell byd a fydd, i rhain fyw 'n rhydd, a gwneuthur
Gwell hyn i ninnau rhag hyll, anhunedd,
Neu gyda 'r enw gadw gwirionedd.
4. Cariad brawdol mewn gwirionedd,
Hwn yw rhwymyn pob tanghefedd,
Ag enw cariad rhith brawdoliaeth,
Ar fyrr a leinw fawr elyniaeth,
Dull y farph yn twyllo Efa,

Rhydd eglur brofiad o hyn yma, (yn gynta
Dyna 'r fann, mewn gweniaeth gwan, daeth Sattan
I blannu 'r ragrith oer-chwith archfa,
Yngwinllan cariad lle cywira,
Cariad perffaith yno a dorred,
A chenfigen och! a faged, (pob deilied,
A hon pan ddaeth, oeri a wnaeth frawdoliaeth
Rhoe 'r brodur cynta hyna ar aned,
I ladd eu gilydd hyn oedd galed.

5. A'r un genfigen gwedi a gode,
Ymmronnau brodur amryw bryde,
Gwnai ei feibion, *Jacob* oedd wyr cywrain,
Werthu eu hanwyl frawd eu hunain,
A dwendyd celwydd mawr mewn dichell,
I gyfgodi eu moelni mufgrell, (agell,
Rhoi gweniaeth gwad, o flaen eu tad, ar wyfgiad aur
Fel hyn mae rhagrith dan ei fantell,
Cyd ag allo yn cadw ei gyllell,
Fel caffo ladd y gwyr grymufa,
Wrth ddangos cariad a mwyneidd-dra, (droya,
Trwy ragrith claer, bu 'r terfyfg taer, cur dreial *Caer-*
Trwy ragrith ffraeth, yr aeth, *Dalila*,
A *Sampfon* wŷch fel ŷch ir lladdfa.

6. Y rhagrith yma eu gyd a godai,
Ag yn lle cariad 'r ymddanghofai,
Gwelwn yma 'r fath fradwriaeth,
Wnaeth enw cariad a brawdoliaeth,
Nid wyfi 'n gofod mo hyn allan,
I'ch digalonni mewn gwael anian,
Na blino 'r blaid, i brofi heb raid, eu henaid, ei hunan,
Ond nid heb achos mae i fawr a bychan,
Chwylio eu futt a gochel Sattan,
Câr dy gymydog medd yr *Iefu*,
Fel di dy hunan da ydyw hynny,
Ag os ymroi, a wnawn ni a throi, i gnoi a thraflyngcu,

Bob

Bob un eu gilydd, yn ddi gelu,
A dwylo 'r fall, fe ein delir fellu.
7. Mae'r fgrythur lân yn rhoi tyftioleth,
Mewn amryw fan am gariad perffeth,
Does fawr o ddynion yn i feddiannu,
Hyn fy'n wirionedd ellir gredu,
Down at wir brofiad bwriad burlon,
Pa fath yw cariad perffaith union?
Gorchymyn ŷw, i ddynol ryw, garu Duw yn ffyddlon,
A'r holl enaid corph a chalon,
A'r nerth a'r meddwl eitha 'r moddion,
A charu ein brodur a'n cymdogion,
'Run fath oludog a thlodion, (gwirion,
A charu 'n fwyn, deg ar dwyn, fel gwaredd wyn
Y rhai fy'n dweud yn ddrwg am danon,
Ag yn ganlynol ein gelynion.
8. Wel dyna gariad y gwirionedd,
Pwy bynnag allo ei gario ai gyrredd,
Nid neb yn fyw nes cael ei glymmu,
Yn baradwyfaidd briod Iefu,
Cariad perffaith rhwng creaduried,
Yn 'r hen Adda ddihenyddied,
Ni cheir ef chwaith, ond trwy wir waith,
'R ail Adda faith ludded,
Nid oes gwirionedd dyfg i'r ened,
Ond or dyn newydd ŵr diniwed,
Gan fod ein cariad mo'r ddiffygiol,
Trown at Grift fe'i gwna'n ddigonol,
Rhydd inni 'n rhâd er llawn wellad,
Wir gariad rhagorol,
'S ŷm yn bwriadu ymroi 'n briodol,
I Dduw ei hun yn ddiwahanol.
9. Pe troe ni 'n frodur cywir union.
Yn ol ein proffes a'n hadd wydion,
Fel hyn rwy'n coelio 'r altrai ein calon,
Fel troi paganied yn griftnogion,

Ni fyddai raid rhoi ffin i'n gwarchad,
Rhag ofer lyfon garw lefiad,
Gwirionedd yw, y byddem byw, yn ofn Duw, ai gariad
Gan gadw ein geirie a'n hymarweddiad,
Mewn côf rymus o'n cyfrwymiad,
Mae ffurf ein bedydd inni 'n bregeth,
Agoriad purffydd cariad perffeth,
Dilynwm hi, ar frawdol fri, hi a'n dwg i reolaeth,
Mae'n gofyn dygyn droeadigaeth,
A grâs ein torri o gwrs naturiaeth,
10. Gan hynny frodur cyd fwriadwn,
Rhag mawr gywilydd ymogelwn,
Fyw drwy ein hoes yn groes i'n proffes,
Rhown heibio oferedd dialedd diles,
Cofiwn *Ninefeh* 'n ddi wegi,
Pan ddaeth gair Duw i'w hargyhoeddi,
Troi a wnaen, trwy rowiog raen, grâs a gaen i 'mgroefi,
Trown ninneu 'n brudd, drwy ffydd a gweddi,
Duw fydd i'n rhan un fodd a rheini,
Mae gwir adewydion i'r ffyddlonied,
A Chrift yn galw pechaduried,
I'w llwyr wellau, a'i glanhau oddiwrth bob gau weithred
Duw yn ei ras mewn addas nodded,
Wir nâf a'n dygo i'r nef fendiged. *Diwedd.*

XVII.

CAROL arall a'r yr unrhyw destyn, holiad am 3 chwestiwn; yn 1 pa beth yw 'r clwb? Yn 2 pa fath ddynion sy 'n ei gynal? Yn 3 pwy sydd yn torri 'r cariad rhyngthynt? Ag ychydig eglurhad ag ystyriaeth arnynt i'w ganu ar Greece and Troy.

XVII.

1. POB cymwys wiwlwys aelod; sy wedi ymrwymo (i'r amod,
I ddysod i'r gyfarfod hynod hon,
Mewn geiriau yma agorwn,
Rhowch osteg i dri chwestiwn,
Eglurwn a hebryngwn hwy ger bron,
Mae 'r cwestiwn cynta 'n holiad,
Pa beth yw 'r clwb ar bwriad a barai ei fod?
Yn ail pa fath ryw ddynion,
Sy'n cynal hyn o amcanion?
Yn union cewch eu nod,
Ar trydydd cwestiwn ydi,
Pa beth fydd yma'n torri ag oeri 'n gas,
Y cariad rhwng ei aelodau,
Ag yn gwneuthur ymrysonau,
A dadlau am bethau bas? (mynega?
2. Ag am y cwestiwn cynta, pa beth yw'r clwb
Cymhwysiad bwriad bura glana gwledd,
I gadw 'r dyn anghenus; yn hen ag yn ddolurus,
I gael ei raid yn foddus hyd ei fedd,
Dan alar mae'n dwyn elw,
A nodded i'r wan weddw, sy'n chwerw ei chwyn,

I'r 'mddifaid anghysurus,
Cynorthwy lân haelionus, ddaionus mae'n ei ddwyn,
Mae'n gymorth i'r gymdogaeth,
Yn darian i'r wladwriaeth dalaith dêg,
I gadw tlawd aelodau; heb os afyddai 'n bwysau,
Dan glwyfau briwiau brêg.
3. Mae fel brawdoliaeth hefyd,
Pe cae fe ei iawn arferyd,
Ny ni allem fod mewn bywyd hyfryd hedd,
Mae 'n howddgar ag yn gymwys,
E. agwedd yn vr eglwys,
Fel brodur praidd paradwys wiwlwys wedd,
Pe medrem iawn ystyriaeth,
A throi at wir athrawieth di weniaeth Duw,
Drwy ffydd a gweddi wresog; bawb oll mewn,
Anian bwyllog,
A rhywiog yn ein rhyw,
A diffodd pob gwreichionen,
A fago drwy gynfigen cynnen câs,
Cyd ddwyn a beiau eu gilydd, fel ŵyn a defaid ufudd,
Dan grefydd dawn a gras.
4. Trown at y cwestiwn nesa, sy'n gofyn etto'n gyfa,
Pa ffasiwn ddynion sy yma synna i'w sôn,
Nid allwn mewn gwirionedd,
Mor henwi fawr o'n rhinwedd,
Na'n galw 'n frodur gwaredd dofedd dôn,
O honom mae rhan fwya, heb ddygiad dan ostyngfa,
Neu ddalfa deddfol ddysg,
Heb gofio Duw sydd gyfion, (wrysg,
Na'n dyled i'n cymdogion, fel gwylltion ryddion
Yn ddynion anwybodus,
Yn codi llid trallodus dyrus du,
Ymsennu o ddiffyg synwyr,
I ddirnad barn ag ystyr, swm cywir rheswm cu.
5. Gwerinos a gwirioniaid, annoethion heb ben-
I gynal pennau gweniaid yn y gwaith, (naethiaid,
Fel

Fel tŷ heb gongol feini,
Fel llong heb heb ddim hwylbreni,
Nid rhyfedd inni fethi rhwyto'n faith,
Fel corph heb ben heb lyged,
Fel milwyr heb gaptenied, nid lludded yw eu lladd,
Fel cowrt neu gwest anghyfon,
A helied o'r gwehilion, heb fawr orcuon radd,
Mae cenedl heb flaenoried,
Fel meirch heb ffrwyn gan ffrymed yn eu ffrost,
Fel eirth o warthus anian,
Fel twrw teirw *Basan*, neu daran erwyn dôst.

6. Fel yr oedd yr hen ephesiaid,
Yn feirwon ag yn ddeilliaid,
Nes agor cwrr eu llygaid i wellau,
Yn ofer eu myfyrdod, yn blant yr anufudd-dod,
Gyn dyfod rhybydd hynod i'w bywhau,
O's holwn nine 'n buchedd,
Cyffelyb ydyw 'n tuedd i'w hagwedd hwy,
Fel y cenhedloedd angred,
Mae ynom ond ystyried, yw glywed yr un glwy,
Mae llawer iawn o honon,
Heb ddallt ein hegwyddorion union wir,
Na'n cyfon gateceisio,
Gan dad na mam ein fforddio, i gywir deithio ar dir.

7. Yn rhodio mewn anrhydedd,
Wrth foefe 'r byd ai fafwedd,
A'r cnawd a'i drachwant burdredd llygredd llawn,
A chrefydd yn ddi gyfri, fel peth afreidiol inni,
A phechod yn blaenori ei dorri ein dawn,
Yn dyngwyr ehud angall,
Yn dysgu pob cyfrwysgall air coeg-fall câs,
Yn llwyr anghofio 'n fydyn,
Air Duw ar ol ei dderbyn,
Fel pettai 'n beifwyn bâs,
Cwerylu geiriau creulon,
Cyffroi am emmau Mamon waelion wâr,
Ond dyna 'r fath rai ydem,

Rhyw rybndd ow! na chymrem,
Na fariem hyn o far.
8. Ar trydedd gweſtiwn gwaſtad,
Swydd fanwl ſydd ofyniad,
Pa beth ſy'n torri 'r cariad,
Rhwygiad rhydd?
Mae hwn yn hawdd i atteb,
Os gwir yw 'r ail eglurdeb,
Wrth gymaint anghyſondeb yma ſydd,
Y cythraul ſy'n ei dorri,
Hen awdwr pob drygioni, mae 'n oeri ei naws,
Drwy weithio yn ein calonnau,
Bob dichell drwg anwydau,
Rheſymau troiau traws,
Lle bo cynulleidfa o frodur,
Mae hwn yn gweithio 'n bryſur, eglur yw,
I'n gyrru ni gyhuddo,
Bob un ei frawd a'i wawdio, a'i daro i friwo (ei friw,
9. A'i ameu yr ydym ni yma,
Nad ydyw 'r cythraul taera,
Ymhob terſyſg yn ein tyrfa brynta bri,
Fe ddaeth yn hyf heb eiriach,
At frodur oedd ffyddlonach,
Duwiolach ag unionach na nyni,
Tri meibion *Noah* gyfion,
Doe att y rhain yn union i ennyn un,
A'i droi 'n gyhuddwr pechod,
I ddannod noethni anafod, ei hynod dad ei hun,
Fe i gelwir o yn y ſgrythyr,
Cyhuddwr bradwr brodur natur hwn,
Yw n gyrru ninnau beunydd,
Bawb ei gyhuddo eu gilydd, gwneud deunydd o bob ſtwnn.
10. Nid rhyfedd mo'i ddichellion,
Dro llidiog a'i drallodion,
Yn ceiſio diwyno dynion, breuon braidd,
Fe geiſiodd drwy bob gogan, gyhuddo Criſt ei hunan

I ſod'

I fod fel ynte o anian aflan flaidd,
A phan ddewisodd Iesu, Apostolion happus deulu,
Yn glos i'w garu 'n glau,
Gwell dyfais ni allai diafol,
Na nesu yn wâs mynwesol, a gwedd Apostol gau,
Wel bellach eber Sattan,
Mi ddoais i'w dŷ fe i hunan dan ei dô,
Bradychaf gwnaf wasgariad,
I'w deulu ag yn ei adeilad, mawr rwygiad yma ro.
11. Ag fellu fyth mae ei amcan, ei gynnyg ei ddrwg
Ymhob cynlleidfa fechan ledwan lu (anian,
Ei 'wyllys a'i holl blefer, i'w torri ein parch a'n purder
A'n dwyn i'w ogof eger dyfnder du,
Fe fyddai 'r llew yn llawen,
Pe gallai 'n gyrru benben, aflawen lêf,
A'r ol bod yn yr eglwys,
Yn gwrando athrawiaeth iachus, a grymus weddi grêf,
Gobeithio y cymrwn gyngor,
I fyw mewn buchedd fobor ordor iawn,
A chofiwn pan fo cyffro neu ymfennu fattan fy yno,
Yn ceifio duo ein dawn.
12. Fel hyn y gallwn ddirnad,
Mai 'r cythraul fydd yn waftad,
Yn torri ag oeri 'r cariad bwriad bur,
Duw ro i ni ras ei yfpryd,
A chalon i ochelyd,
Rhag bod yn ddihir ehud, waedlyd wŷr
Cafawr ei frawd cawn brofiad,
Mae Duw yn ei alw'n lleiddiad, angharíad yw,
Pob math o amryfufedd,
Rhown heibio hyn o ffoledd, fy lygredd drwg i liw,
Wrth weled fod y cythrel,
Yn ceifio cynal rhyfel i barhau,
O! byddwn ddoeth fynhwyrol,
I ennyn cariad brawdol, yn rheol i'n gwarhau,

# CAROL Plygain ar Greece a Troy, ystyriaeth am gwymp Adda, a ninnau ynddo, an cyfodiad ynghrist yn anian newydd o fywyd yn yr *Enaid*.

XVIII.

1. YSTYRIWN fel y creuwyd, sylweddau dyn o'r
Ei gwymp a'i godiad hefyd gwedi hyn, (cynfyd
Fe a'i gwnaed yn llaw 'r creawdwr,
Yn enaid byw di lygwr,
Cyn iddo goelio 'r twyllwr temptiwr tynn,
Y cyntaf ddyn daiarol, a wnaed yn enaid bywiol,
Yr Apostol sy'n coffau,
A'r ail dyn a gyfodwyd, i adnewyddu 'r bywyd,
Yn yspryd yn bywhau,
Yn 'r enaid yn ail anian,
Yr Arglwydd nef ei hunan, ydyw hwn,
Duw yn ein cnawd a'n hyspryd,
Fu'n gorph ag enaid hefyd, mewn penyd dan ein pwnn.
2. Golygwn drosodd etto, fel y darfu i Adda gwympo
Fel y mae'r gair yn gwirio am dano 'n dêg,
Fe gwympodd o a ninnau, dan lwyth o farwolaethau,
I fro a chysgod angau briwiau brêg,
A daliwn olwg eilwaith, ar nodau 'r cwymp a'i effaith,
Anrhaith oedd,
Marwolaeth cywilydd colled, i ran y corph ar ened,
I'w gweled inni ar goedd,
Ag wedi 'r gwall ar golled,

Nid

Nid allai 'r corph amgyffred ened byw,
Bu tarw mewn oferedd, cywilyddo yn noeth a gwaeledd
Rhag dialedd ger bron Duw.
3. Griſtnogion union enweu,
Mae'n rhan yſprydol ninneu,
Yn noeth yn awr fel nhwytheu a'n beieu 'n bwnn,
A'm ein bod eu gyd yn gyfa, ynghyfri Duw goruchaf,
Yn ſyrthio gyda 'r Adda hyna hwn,
Fel y mae canghenau brigin,
Y pren yn byw 'n ei wreiddin,
Pan fo 'n eginin gwan,
Fel hyn roedd pawb ar aned,
Yn lwynau hwn pan lunied,
'N cyd ſyned yn 'r un fan,
'R un ffunud y mae ynteu,
Ynglyn yn ein calonneu ninneu nawr,
Yn wreiddyn yn ein llygru,
'N rhoi nodd i'r drwg gynyddu,
A thyfu i ſynu yn fawr.
4. Mae arno henwau amrywiol,
Wrth araith yſgrythyrol,
Fe'i galwai rhai oedd ddoniol o 'r hen ddyn,
Waith arall y dyn cynta, neu'r dyn daiarol oera,
A'r dyn marw ſulw ſala lleſga llun,
Waith arall y dyn pechod,
A'r cnawd, mae ei henw hynod yn briod yn ein bron,
Roedd *Paul* mewn adnabyddiaeth,
O flinder llygredigaeth, corph y farwolaeth hon,
Chwyliwn ein calonnau,
Wrth reol gwirioneddau dehau Duw,
Pwy ſy ynom ni 'n drigianydd?
Ai 'r marw ddyn di ddeunydd,
Yn dw beunydd, a'i 'r dyn byw?
5. I gadw lle 'r cwympiedig,
Hen leſtr brau methiedig,

'R

'R anfonwyd Crist yn feddig unig oen,
Ag yn ei le fe safodd, a'i natur arno gymrodd,
A'i gerydd a dderbyniodd drwy ddir boen,
A daliwn sulw i'r eitha,
Mae 'n rhaid i'r ail ddyn yma,
Gael lle 'r dyn cynta 'n llwyr,
Os gallwn ni 'mwahanu, a'n priod cynta a'i wadu,
A hynny cyn rhy hwyr,
Hwn yw mab wasnaeth-ferch,
I'w gyfri megys ordderch yma sydd,
Ni cheiff fod yn gyfranol,
A mab y stât briodol, ryw graddol o'r wraig rydd.
6. Ond priod fab mynwesol ydyw 'r gwir Iesu grasol
Duw dyn yn un ai bobol raddol rydd,
Mae 'r priod fab cyfaddas, yn stafell y briodas,
Nid allan megys caethwas bas y bydd,
Ystyriwn garedigion, beth yw priodas ffyddlon,
Ond cloi dwy galon gu,
Serch manwl cyd ym uno,
Mawr amod i'e ymrwymo, o ran tario 'n y 'r un tŷ,
Dinam i'r diben yma,
Y daeth y gwir fesia, yn benna i'r byd,
I ymofyn am ddyweddi, 'n iachawdwr pur i'w chodi,
O'i dysn drueni drud.
7. Yn nirgel ddyn y galon,
Ag nid ymhell fel estron,
Mae Duw yn delio a dynion yn eu dydd,
Ny ni sydd yn estronedd,
Yn dweud dychmygion gwagedd,
Fod Duw ymhell o'n cyrredd mewn lle cudd,
Mae'n calon ni pe teimlem yn llawn fel dinas *Bethlem*,
Ucheldrem sy yn ei chau,
Pan ymddanhoso 'r Iesu, ni bydd mo'r lle yn y lletty,
Na gwely i'w 'mgleddu 'n glau,
Ag oni ollyngir meddyg,
I dŷ 'r dyn claf ni chynnyg mo'r iachau,

A Christ oddiallan hefyd,
Ni ddichon roddi iechyd, i'n symud na'n lleshau.
8. Mae fe 'wrth y drws yn curo,
Ar yr enaid ſwrth i ddeffro,
Gwrandawn agorwn iddo goreu nawdd,
Os clywn ei lais yn galw, pechadur wrth ei enw,
Ei gwmni gawn ni heddyw 'n ddigion hawdd,
Ond ynom ni 'n wastadol,
Mae swn rhyfel-wynt cnawdol,
Coeg hudol cig a gwaed,
Pan alwer ni i ddihuno, mae sattan etto 'n Sio,
Yn ceisio tripio ein traed,
Rhown glust i'r gwir leferydd,
Mae fe 'n tawelu 'r stormydd fel hafddydd hin,
Ag yno cawn wir brofiad,
O wledd yr oen dda raniad,
Sy a'i gariad megis gwin.



## Carol Plygain ar Grimson Velvet yn dangos fel yr oedd Adda vn droseddwr y deg gorchymyn ynghardd Eden.

### XIX.

1. DYMA 'r dydd nodedig, nadolig unig enw,
Y ganwyd nef etifedd, duwioledd ar ein delw,
*H.* Pa beth oedd yr achosion,
I frenhin *Sion* sancteedd,
Gael yma ei eni heddyw o forwyn salw sylwedd?
*A.* Yr achos oedd cwymp Adda,
Yn torri 'r amod trymma,
Musgrella ag anedwydda dyn,

Hun

Hwn oedd greadur hoyw, Duw a'i gwnaethai,
'N wryw a benyw;
Ar ei ddelw a'i henw ei hun,
A chwedi ei gwneud yn gymwys,
I rodio gardd baradwys,
Dros fyth i orphwys yn ei wydd,
Ond dyn er maint ei orfoledd,
Nid erys mewn anrhydedd,
Syrthiai i lygredd faledd fwydd.

2. *H.* Ni thorrodd Adda a'i bechod,
Ond un gorchymyn bychan,
Pa fodd na chowfai fadde,
Am un o afale 'r berllan?

*A.* Nid bychan oedd ei bechod,
Ond chwilio 'r gwaelod gwelwn,
Nid un; Mae'n ddigon amlwg,
Ei fawrddrwg oedd yn fyrddiwn,
Fe dorrodd Adda ar unwaith,
Y deg gorchymyn perffaith,
Geirwir gyfraith lanwaith lun, (hylla.
Torrai 'r gorchymyn cynta wrth gredu i'r bwystfil
Yn fwy nag i'r *Jehova* ei hun,
A'r ail fe ddelw addolodd,
Gwneud Duw o'i fol pan flyfiodd,
O'r pren na roddodd Duw i'w ran,
A'r trydydd, henwai 'n ofer,
Ei Dduw pan aeth dan faner,
Y Cythraul eger gwfmer gwan.

3. 'R pedwaredd arch a dorrodd,
Ni chadwodd mo'r orphwysfa,
Roed iddo 'n Saboth hyfryd,
Dros 'dragwyddolfyd ddalfa,
A'r pumed ni roe 'n weddedd,
Anrhydedd i'w dad rhadol,
A'm hyn ni yftynai ei ddyddieu,
Cae ei fwrw 'n foreu 'n farwol,

A'r chweched arch a dorrai,
'N ddilwydd ei hun a' laddai,
Angau arno agorai, ei geg,
A'r seithfed aeth i'w galon,
Odineb ei olygon,
Wrth chwantu 'r aeron tirion têg,
A'r wythfed fo ladrattodd,
O'r eiddo Duw na roddodd,
Ond a wahanodd iddo ei hun,
A'r nawfed heb ystyriaeth,
Derbyniodd gam dystiolaeth,
Y ddraig a'i gweniaeth ddrwg ei gwyn, (uchel,
4. A'r degfed a drofeddodd chwennychodd fynd yn
A bod yn wr deuallus fel Duw neu megys Angel,
Fel hyn mae 'n eglur inni,
I Adda dorri 'r cwbwl,
Pob rhan o'r gyfraith gyfion,
A'r holl orchmynion manwl,
'Roedd hwn ei hun yn euog o holl bechodau,
Llwythog: Y byd cwmpasog dan eu pwys,
Ag euog fyth ŷm ninne, o'i fai a'i bechod ynte,
Yn torri 'r deddfe tirion dwys,
Er na wnaeth llawer yma, lofruddiaeth,
Na phutteindra: na lledratta brynta bri,
Pan ddelo barn wrth linin,
I chwylio brig a gwreiddin, mae rhain yn egin,
Ynom ni.
5. Er na roed y gyfraith, nag araith Duw mewn geirau
Nes y derbyniodd *Isr'el* ddeddf uchel ar ddwy lechau,
Er hyn roedd cyfraith *Moesen* yn eden le hynoda,
Duw fynnodd ei sgrifennu, i aneddu 'nghalon Adda,
A phan drofeddodd Adda,
Un pwngc o'r gyfraith yma,
Fe a dorrai 'r cyfa ffola ffair,
A'm fod y gyfraith sanctedd,
O eneu Duw 'r gwirionedd,

I gyd yn gorwedd mewn un gair,
Sef ceri yr Arglwydd cyfion,
Heb gilio yngwraidd dy galon,
Dyna 'r holl orchmynion mawr,
Pan ballodd Adda unwaith,
Gyflawni hyn o'r gyfraith,
Yr holl deiladaeth aeth i lawr.

6. Wrth hyn y gallwn brofi, i ninne dorri 'r gyfraith
Nid peth y cwbl drwyddi,
Hon fy'n ein holi 'n helaith,
Pan dorrer cyfraith brenhin,
Mae barn yn gerwin gyrredd,
A'r iawn a fynn yw 'r einioes,
Drwy dduloes arw ddialedd,
Fel hyn mae 'r gyfraith gyfion,
Yn ein dal yn garcharorion,
Tan ei bygythion trymion trift,
A ninneu fyth heb deimlo, fod arnom berygl etto,
Wrth wag obeithio croefo Crift,
Mae yma le i gweftiwno,
A oes genym Grift a'i peidio?
Pa fodd y daethom atto ar dir?
Mae'r gair yn dweud mai 'r gyfraith,
Yw'r athraw hylaw helaith,
At Grift a'i berffaith araith wir.

7. Oni ddaethom ni at yr Iefu,
Drwy ein gyrru gan y gyfraith,
Ni ddaethom un ffordd arall, i gyrredd di ball obaith,
Hon fy'n dadcuddio pechod, a gwaelod ei ddirgelion,
Hon fy 'n gwneud dyn yn llwythog,
Flinderog yn ei galon,
Amlyga i'r enaid truan, ei gyflwr euog aflan,
Ym meddiant Sattan lydan lid,
A'i wrth y gyfraith honno, y cowfom Grift yn eiddo?
Ond te 'r ym etto hebddo o hyd.

Pan

Pan welo dyn ei g'ledi, dan farn y gyfraith ddifri,
A'i fod yn llawn trueni trist,
Rhag darfod fyth am dano,
Mae 'n dechreu curo a cheisio,
A chalon effro grio am Grist. [holiad,
8. Mae 'n amser in i bellach droi at fanylach
Pa beth yr ŷm ni 'n farnu,
Am Iesu mewn cymwysiad?
Mae 'n ddiau ein bod yn synied,
Fel y ganed e' yn eginyn,
Yr hanes hwn drwy 'r bydo'dd,
A ffrydiodd yn gyffredin,
Ond beth ydyw 'n tystiolaeth,
Am Grist yn iechydwriaeth,
Heblaw gwybodaeth plant y byd?
Fe ŵyr y rhain hyd heddyw,
I genhedlu ar lun ein delw,
A'i groeshoelio i farw ar isel fryd,
Mae 'r sgrythyr yn rhoi cyfri,
Am sant a phlant y goleuni,
Pwy ydyw rheini, i'w nodi 'n iawn?
Am Grist maent yn gyfrwyddach,
Na phlant y byd, sy'n gallach,
Dan bwysau basach duach dawn.
9. Mae plant y byd yn dehe,
Mewn pyngcie a geirie gwrol,
Yn ol goleuni natur a synwyr defosionol,
Er hyn mae plant y deyrnas,
Mewn gwiwras yn rhagori,
Dirgelwch Crist amlygwyd,
Fe'i rhanwyd rhwng y rheini,
Wir anwyl garedigion, rhown farnedigaeth union,
P'run ŷm ni o'r dynion yn ddi dwn,
A'u plant y goleuni bywiol,
Gwir eglwys Crist a'i bobol?
A'u plant naturiol y byd hwn?

Cofiwn bwnge ein gweddi,
Duw doed dy deyrnas i ni,
A'th wir oleuni hardd ei lun,
Mae 'r deyrnas hon yn dyfod, i galon a chydwybod,
Rob aelod hynod Crist ei hun. (goleuni,
10. Os ydym heb wybodaeth, gwir lanwaith o'r
I fynd at Grist gogoned, yn ddeilied i'w addoli,
Diame yr aem ni atto,
Pe medrem chwylio 'r llwybyr,
Ond anhawdd yw 'n cyfarwyddo,
Ni etto wrth ganwyll natur,
Trown at ein cydwybode, o'u gwaelod cyfyd gole,
'R seren fore siwr a fydd,
Wrth lewyrch hon yn union,
Awn atto fel y doethion,
Rhown iddo anrhegion ffyddlon ffydd,
Y goleuni sy 'n llewyrchu, yn y tywyllwch pygddu,
Nes iddo enynnu i fynnu 'n fawr,
A'r tywyllwch dû gan dewed,
Heb fedru mo'i amgyffred,
Fel hyn mae 'n heneid ninne yn awr, (suro,
11. Ond cymrwn heddyw i'n harwen, y seren i'n cy-
Fe gyfyd haul cyfiawnder, o'r uchelder heb fachludo,
O's Crist a lan ddilynwn, nis rhodiwn mewn tywyllwch,
Fe egyr ei ddamhegion i'r galon a'i ddirgelwch,
Nid Crist o bell i'w henwi, ond Crist oddiagos ydi,
Crist i ni ymborthi yn ffri drwy ffydd,
Crist i breswylio ynom, os ynddo y gwir gredasom,
A'i wysgo am danom nos a dydd,
Fel hyn mae plant y deyrnas, yn derbyn y *Messias*,
Gwrol urddas gore ei lwydd,
Ei lais maent yn ei adnabod, yn 'r enaid a'r gydwybod,
Ag yn ei ganfod yn ei gwydd.
12. O Dduw ni a glywsom d' eiriau,
A'n clustiau a'th deddfau dyfal,
A'n tadau fynegasant d' ogoniant i ni i'w gynal,
Caniadha

Caniadhâ i ni heddyw ddal sulw at ei fylwedd,
Ag iawn ddeunyddio 'r cwbwl,
Mewn manwl wir amynedd,
Na âd i ni gledu ein gwarrau,
Dan gerydd dy ddyrnodiau,
Fel *Pharo* wrth blauau d'wrthiau di,
Neu 'r Neidr fyddar foddion,
Oer fŷnn na wrendi ar fwynion,
Y Rhinwyr doethion ffrwythlon ffri,
Mae 'n barn yn fwy bygythiol,
Na *Sodom* wlad arswydol,
Os byw 'n annuwiol a wnawn ni,
Dod i ni ar hyn o blygen, oleuni 'th efengyl lawen,
A gras: *Amen* i'w harwen hi.



## Carol Plygain ar Grimson Velvet, wrth ddammeg y dryll arian, danghosir agosed yw Crist at enaid pob dyn.

XX.

1. RHyfeddol fyth mo'r fanwlyw meddwl y'sgrythyre
A'm Grist y cywir Brophwyd,
A nodwyd i'n heneidie,
Hwn ydyw 'r gwir oleuni daioni o'r Duw unig,
Yn llewyrchu yn y tywyllwch, anialwch byd anelwig,
A'r tywyllwch heb ei amgyffred,
Ni fedrwn ni mo'i weled na'i ystyried megis Duw,
Er bod ei ddirgel yspryd,
Heb bwys na fwm yn fymud, yn ein bywyd anian byw,
Er hyn yn anwybodus, i'r galon ofer goelus,

Ag anhysbys iddi hi,
Ei thwllwch sy'n ei guddio,
Ag etto 'r gair yn gwirio,
Ei fod ef yno yn eiddo i ni.

2. Mae dammeg y dryll arain,
Yn eglur ddatgan ini,
Fod Crist yn ein stafelloedd a'n celloedd wedi colli,
Goleuai 'r wraig ei chanwyll,
I chwilio ei thywyll gongle,
Nes cael y dryll dewisol, gwych llesol a gollase,
Fe orfu i hon ysgubo, a chwalu 'r sothach heibio,
Oedd yn ei guddio 'n ddysn o'r gwydd,
Wrth iddi lân arloesi,
Hi a'i cadd, bu lawen ganddi,
'Roedd hon yn llonni o ran ei llwydd,
Mae calon dyn 'r un ffunud,
Fel achles sudr lychlyd,
Yn y tŷ priddlyd, tomlyd hwn,
Er hynny mae 'r dryll arian,
Neu 'r gwerthfawr berl sydd
Burlan: Mewn pridd a graian ynddi 'n grwn.

3. Crist ydyw 'r dryll a gollwyd a gafwyd etto 'n gofus
A'r wraig a'i chwyliodd allan, yw ei rywioglan eglwys,
A'r ysgub sydd gyfflybiaeth,
O weinidogaeth ddidwyll,
A'i ffydd i gredu 'r efengyl,
Wedd gynil oedd y ganwyll,
Fe â 'r ysgyb hon a'r cyfan,
Mae 'n sgubo 'r glân a'r aflan, y llwch a'r arian,
Allan oll; a'r ganwyll wrth oleuo,
Sy'n peri i'r perl ympirio,
Oedd yn ymguddio yma ar goll;
A chwedi ei gael ef yno, pob dyn a rydd am dano,
'Rhyn oll a seddo 'n llawen fodd,
Gan ragor werthfawrogi,
Ei geidwad am ei godi, o'r llwm drueni lle 'r ymdrodd.

4. A'i ameu genym yma, fod mab *Maria* rwan,
I'w gael yn fael gorfoledd,
Drwy rinwedd i wir anian,
Pan gollo dyn beth anwyl, yn ei ymyl bydd yn ameu,
Na ddaw i'r golwg eilwaith,
Oedd unwaith i'w feddianeu,
Fe gollwyd y dryll yma, yn y dyn daiarol cynta,
Sef delw hardda Duw ei hun,
Ag ar gyfyrgoll erys, oddiwrtho dim ni wyddys,
Hyd oni ymddengys yr ail ddyn,
Yn hwn mae 'r ddelw nefol, yn enaid byw yfprydol,
Anian dwyfol un a Duw,
Ae 'n anian un a ninne, cnawd, yfpryd, gwaed, efgeirie,
Cyneddfe yn radde o un ryw

5. Mae Crift y gwir flaguryn,
A dyfai o wreiddyn Dafydd,
Yn nheyrnas gras yfprydol,
Drwy 'r holl gris'nogol grefydd,
A'r deyrnas megis hedyn, eginyn yn ei gynydd,
Y lleia o had y llafur, mewn mefur yn y meufydd,
Mae 'r deyrnas oleu wiwlwys,
Tu fewn i gorph yr eglwys, yn cael ei chynwys,
Coelfwch hyn: A'r eglwys yn yr yfpryd,
Ymmynwes Crift ei bywyd,
Dan alwad gwaith ei nwylyd gwynn,
A Chrift yn y gydwybod, heb neb yn medru ei nabod,
Ond ei briod wiwnod wen,
Mae ei weithrediadau yfprydol,
A'i hanfod anfefurol, i'r dyn allanol dan y llenn.

6. Peth rhyfedd iawn i'w yftyr,
I fynwyr byd prefenol,
Fod Crift mo'r agos atto, yn athro mo'r ddieithrol,
Nid dim rhyfeddach iddo na llunio a gair lleferydd,
Y byd: A'r un gair bywiol, wnai 'n gnawd,
O ddynol ddeunydd,

A hwn yn ddyn yn rhodio,
Môr trosodd heb betruso,
A'r gwyntoedd iddo 'n ufuddhau,
Yn codi 'r meirw i fywyd,
Gwneud clust a llygad hefyd,
A phob clefyd fu 'n Iachau,
Er gwrthiau anghyffredin, ni chredai 'r byd un tipyn,
Mae fe oedd gwreiddyn y gwir Grist,
Doe'n atto i hel ei holion,
Heb deuall ei attebion,
Oddiwrtho troen yn ddynion trist,
7. Nid oes gan yspryd natur,
I'w wneuthur mwy na nhwythe,
Ond cwestiwno ag ymrwstro,
Tramgwyddo wrth ei eirie,
Er bod yn cario proffes, a hanes wan o hono,
Wrth arwydd y llythyren, canhwyllbren heb oleuo,
Wrth hon gwnawn ddwyn ei achau,
O *Abraham* a'r llwythau, hyd fair a'i dygai forwyn deg
O'i lân hiliogaeth liwgar,
Yn genhedlaethau howddgar, cyfrifir dwy,
A phedwar dêg,
Rhown hanes am ei febyd,
A'i fuchedd yn ei fywyd,
A'i angau hefyd waedlyd wedd,
A'r gladdu yn y ddaiaren,
Derchafu o hwn drachefen,
I'r nef ddisglaerwen lawen wledd.
8. Hyd yma gwnawn ei ganlyn,
A'i dderbyn yn ddiddarbod,
O hirbell nid yn gyfell,
Tu fewn i'w stafell briod,
Fel gynt yn *Galilea*, 'roedd tyrfa fawr o'i gwmpas,
Yn lanwaith a'i dilyne, tros donne môr *Tiberias*,
Wrth weled ei rinwedde, a'r cleifion a Iachause,
A'r dyrfa borthe a'r torthe haidd,

Pan

Pan aeth ef yn fanylach,
I'w dyſgu ei gredu 'n gryfach,
'Roedd natur grwgnach yn ei gwraidd,
Pan ddweudodd y gwir brophwyd,
Mae efe oedd bara 'r bywyd, y rhain a dagwyd,
Yn eu dyſg: Ei ymadrodd wrth ei wrando,
Oedd galed iddyn goelio,
Ni fynnen mo'no i fyw yn eu myſg.
9. Rhain oll oedd yn Broffeſwyr,
Gwrthgilwyr gyrrith galon,
Ag maent yn ſiampl heddyw,
I bawb ſy a'r enw Criſtion,
Nad ydyw pyngciol broffes,
Ond anwes ſydd mewn dynion,
Enynnant opiniwnau,
Fel lampau 'r ffol forwynion,
Cyffeſu Criſt a'n gene, a'i wadu yn ein calonne,
Fel hyn y bydde gweiſion *Baal*,
'Roedd proffes yn ei chario, gan rai a ddweudodd wrtho
Fod cythraul ganddo i ſwyno 'n ſâl,
'Roedd yſpryd yn ei gredu, ag yſpryd yn ei wadu,
A'r ddau 'n croes dynnu 'n geccrus daer,
Mab Duw medd un heb ame,
A'r llall mewn diball dybie,
A'u byrr feſure 'n fab i'r Saer.
10. A ydym ni 'n cyffeſu,
'R pur Ieſu fu'n y preſeb?
Gwir ydyw 'n bod mewn proffes,
Wrth hanes ei ddoethineb,
Ag er cyffeſu ei enw,
Pe deuai heddyw ein profi,
Mae ynom ninneu anian,
A'i gwad e'n fuan gwedi,
Ni welſom mo'no 'n eglur,
Yn croeſi cnawd a natur,

A chraig o rwystyr ochrog ryw,
Poen penyd i bob hunan, maen tramgwydd,
A chwymp allan,
A phawb na adwaenan e'n fab Duw,
Adnabod ein perthynas, ag efo mewn priodas,
Fel mae 'n gyfaddas i ni fod,
Yn ddall, yn gloff, yn gleifion,
I'r meddyg dyna 'r moddion;
Y down ni yn union dan ei nod,
11. Ond pwy fynegodd i ni,
'N trueni trwy air union,
Ein bod yn gleifion fellu,
'N ddiallu ag yn ddeillion,
Does neb a ddichon ddatgan,
Ond Duw ei hunan hynny,
Mewn golefyneg eglur, i wan greadur gredu,
Fe alwodd 'yr *Iuddewon*,
Gynt yn dwyfogion deillion,
Ag ni chredafon i'w air doeth,
Ond dweud eu bod yn canfod,
Am hyn arhosai eu pechod,
Ar eu cydwybod nafod noeth,
Dallineb o'r un llenne, fydd arnom ni a nhwythe,
Heb ystyriaethe yn adde 'r nŷch,
Yn ddall, ag ni ddeuallwn,
Gan feddwl y canfyddwn,
Gobeithio gwelwn bethau gwŷch.
12. Pan deimlom mewn ffyddlondeb,
Ddallineb ein calonnau,
A'n bod yn bechaduriaid,
O'r enaid daw gruddfannau,
Mae Crist yn rhoi goleuni,
Ag eli wrth ein golwg,
Cawn weled rhodio ei lwybyr,
Yn eglur ag yn amlwg,
Ond dysgwn na wiw disgwyl,

I lewyrch yr efengyl, dywnnu a'r ddelw,
Bwystfil byth,
Hon ydyw anian pechod, a lygrodd ein cydwybod,
Hen sarphedd surdod chwer'dod chwyth,
Mae Crist y gwir oleuni, yn gwmwl tywyll iddi,
A dallach ydi o'i dwllwch e'
Fel yr oedd e'n dallu 'r anghred,
Di gywilydd oedd yn gweled,
Gan ameu eu llyged yn eu lle.

13. Mae goleu 'r *Israeliaid*,
Yn tywllu 'r *Aiphtiaid* etto,
Mae ynom ninneu *Aiphtiaid*,
Dae'n henaid yn dihuno,
Fe geir ond chwylio 'r galon,
Ddwy anian dynion dinerth,
Sef had y wraig a heppil, y sarph anghenfil,
Anferth; Fel hyn mae Duw 'n gwahanu,
Rhwng tywllwch a goleuni,
Sydd efo nyni am syw yn un,
Neillduo 'r duwiol anian,
Oll iddo ei hun yn gyfan,
Oddiwrth yr hunan a'r hen ddyn,
Gan farwolaethu beunydd,
Yr hen a chodi 'r newydd,
Yn union lywydd yn ei le,
I hwn mae Drws agored,
I ymorol am ymwared,
Enw a nodded yn y ne.

14. A ddelo i'r profiad yma,
Fo seinia fawl cysonedd,
Fe egyr Duw ei lyged,
I weled pethau rhysedd,
Cysgodai 'r hwyr yn cilio,
Oddiarno a disglaer ddiwrnod,
Y seren foreu eglur dan wybyr i'w dynabod,

Ceiff

Ceiff weld pyrth uffern dywyll,
Oll wedi torri 'n gandryll,
A oedd yn erchyll iawn i ni,
A phyrth Caersalem newydd,
Yn agor cyrre eu ceurydd,
I fyned i'w heolydd hi,
A chlywed utgorn cyhoedd,
Yn galw 'r holl genhedloedd,
A theyrnas nefoedd yn nesau,
A'r newydd da a'i gwna 'n fywiog,
O eni Crist eneiniog,
Oen galluog i'n gwellau.



## Carol Plygain ar gwel yr Adeilad; yn cynwys amrywiol ystyriaethau am Grist a'i eglwys.

### XXI.

1. MYfyriwn fel arferol,
Pob pen ag awen rasol, gân i'r Iesu,
Mewn odlau pêr ysprydol,
A phwy sydd yn ddigonol heddyw i ganu?
Pwy sydd: Yn perchen yspryd ffydd?
O fewn ei fynwes, i ganu 'n gynes,
Yn lle gwag ogles, yn ol yr hanes rhydd,
Nid ydyw 'r hyn sy i'w canfod,
Ond cysgod pethau cudd,
Gwir lun: A hanfod Crist ei hun,
'Doedd ei gnawdoliaeth, ond cyffelybiaeth,
O'i ysprydoliaeth diweniaeth ymhob dyn,
A delw corph ysprydol tragwyddol tri ag un.

2. Pa

2. Pa beth yw corph yſprydol,
Creadur newydd nefol duwiol anian?
Pa beth yw corph yr eglwys,
Priodas ferch paradwys, berlwys burlan?
Beth yw: Corph pechod yn ei ryw?
Cyrph dirgeledd heb ſwm pa ſylwedd,
I'n golwg gwaeledd,
Gwan claſedd ag ein clyw,
Er hynny 'n agos attom,
Bob dydd tra byddom byw,
Ond dyn: Pan ddarfu lygru ei lun,
Goleuni perffaith, a giliodd ymaith,
Nis gwyr yſywaith, mo'i hanes maith ei hun,
Gŵyr well ſy mhell oddiwrtho,
Na 'r pethau ſy ynddo nglyn.
3. Am anedigaeth Ieſu,
Mae genym hanes hynny 'r oes breſenol,
O'r forwyn bur ym *Methlem*,
A hyn ſy mhell oddiwrthem ar lle 'n ddieithrol,
Pwngc clir: Yw hwn er's amſer hir,
Un mil a ſeithgant, a ſeith-ddeg rhiſant,
A phedair meddant dan warant i ni 'n wir,
Er pan fu hyn dros foroedd,
Filldiroedd pell o dir,
Nid yw! Yr hanes yn ei rhyw,
Er mae gwirionedd, ond pell o'n cyrredd,
Ag yn rhy wannedd, i'n dwyn,
Mewn hedd a Duw,
Neu 'n hargyhoeddi heddyw,
I godi o feirw i fyw.
4. Ffordd nes gan *Paul* danghoſwyd,
Amlygu Criſt yn fywyd i'r cynlleidfaon,
Nid Criſt o bell oedd ganddo,
Ond Criſt oedd gyda 'g efo, i'w gadw 'n gyſion,
Efe fu: Yn ei elwys gymwys gu,
Yn ei dyweddio, fel morwyn iddo,

Gwedi ei phuro, i flodeuo yn ei dŷ,
Yn hardd fel Lili 'r dyffryn,
Yn deg heb frychŷn du,
'Roedd cenn: O frychni 'n llenwi 'n llen,
Yr eglwys eurgod, fef brychau pechod,
Ond pan gae nabod ei phriod Crist ei phen,
Hi ae fel yr eira yn Salmon,
A'i gwawr yn' ddigon gwen.
5. Yn apfen Crist o'i winllan,
Doe rhuad teirw Bafan a'u twrw 'n bwyfig,
Y baedd o'r coed a'i turiai,
Pob bwystfil drwg a'i porai, a dreigiau peryg,
Ar lawr: I'n dyfgu ninneu 'nawr,
'Roed gwerfiau 'r doethion, adwaenai yfprydion,
Bwystfilod hyllion, a furion drwg eu fawr,
Oedd fel llwynogod cyfrwys,
Yn 'r eglwys wiwlwys wawr,
Mae rhain: a'u hanghyfonol fain,
Hyd heddyw 'n torri i 'n holl eglwyfi,
Mae 'n hawdd eu profi fel drwg fieri a drain,
Geill pob dyn gael eu hanes,
Ond chwylio ei fynwes fain.
6. Pa beth yw gwreiddyn gwagedd,
Balch agwedd ffrwd oferedd ffair difyrrwch?
Y llywon a'r holl awydd,
Y dwyll a'r drais doft arwydd, a'r diystyrwch?
Beth yw: Ond apfenoldeb Duw,
Fod gallu Sattan yn gofod allan,
Yr yfpryd aflan y rwan yn ei ryw,
Yn rhodio 'r byd mewn rhydid, heb newid dim o'i liw
Y fath lun: Sy ar eglwys Duw ei hun,
Cynifer aelod fy'n dilyn meddwdod,
Trachwantau pechod, drwg dafod gormod gwyn,
Fel mwg y pwll diwaelod, yn dyfod o fewn dyn.
7. A rhai mo'r anystyriol,
Fel pettai Duw na diafol ond dyned ofer,
Nag

Nag angau a barn i'w credu
Nag uffern boeth ei gallu, ond peth i gellwer,
Cyn hir: Ceir clywed matter clir,
Daw dydd bydd cyfri, pan Dduw celi,
A swyddog difri ein torri oddiar y tir,
Cawn weled fod yr efengyl,
A'r gweryl plaid y gwir,
Beth ddaw: O fronnau sy 'n ddi fraw,
Yn gwneud ysgafnder o farn cyfiawnder,
Difyrru 'r amser, i drymder nesu draw,
Holl foesau da ein henafied fe'u llygred yn ein llaw.
8. Y plygain ddyd nadolig,
A wnaed i'n galw'n ystig ein hegswysdai,
I addoli Duw fe ddylid,
A'i dyna swydd ieuengctyd, sydd yno 'n fintai,
Nage: Os ceiff y gwir ei le,
Ond maent yn dyfod yn ol y ddefod,
I ddisgwyl canfod rhyfeddod ynddo fe,
Sydd well gan feddwl gwibiog,
Na Christ eneiniog ne,
O'r fan: Yn lluoedd eir i'r llan,
Heb fawr o brofiad,
O'r llawn ddarlleniad, am eni ein ceidwad,
Gynt mewn agweddiad gwan,
A mwy o ffansi ffoledd, na rhinwedd yn ein rhan.
9. Trueni fad arswydol,
A ddygodd pechod gwreidiol ar bob gradde,
Er gwneuthur dyn mewn glendid,
Hwn yn y lle creuasid nid arhose,
A'i le: Oedd fuddiol iddo 'fe, yngardd paradwys,
I'w enaid orphwys, pob da 'n ei dywys,
Yn gymwys efo ag e,
Mewn ſtât o anfarwoldeb,
Dan undeb â Duw ne,
An 'noeth: Fu berw natur boeth,
Pan gollai ei goron, hardd wysg angylion,

Wrth

Wrth gilio o galon y gwirdduw cyfion coeth,
I'r byd ar cnawd a'r cythrel, a'r ddelw 'r. nifel noeth.
10. Gwaith *Moses* a'r Prophwydi,
Oedd dangos y trueni trwy wirionedd,
Ag er fod camwedd cymaint,
Fod nodded trwy ragorfraint o drugaredd,
A rhai a gredodd bwys eu bai,
Er cysur cowsant gan Dduw faddeuant,
A'u dwyn i ogoniant, a'u llwyddiant ni bu'n llai,
A rhain mewn gwysgoedd gwnnion,
Ar fynydd *Seion* a fai,
Hyn fy: Mae etto le 'n ei dŷ, ni yrr ef allan,
Na mawr na bychan,
Pechadur aflan yn druan atto drŷ,
Fe ŷlch yr anghyfiowna, fy a'r dolur mwya du.
11. Hyn allwn ddweud a'i wrando,
Mewn trymgwsg heb ddihuno yngwraidd ein henaid,
Yn feirw Dduw yn fyrion.
Ag etto 'n fyw a dewrion efo 'i greaduriaid,
Gwir yw: Ped fae ni 'n fyw i Dduw,
Fe fyddai pechod, ar y gydwybod,
Yn fraw a chryndod i 'n bronnau 'n ormod briw,
Mae 'n faich ag yn afiechyd, yn boen i yspryd byw,
Mo'r ffri: 'Roedd Dafydd yn rhoi cri,
Rhag haint echryslon, pechodau cryfion,
Maent yn rhy drymion a mowrion yma i mi,
Fel gwallt fy mhen o amledd,
Mo'r rhyfedd yw eu rhi.
12. Does dim a wir fodlona,
Yr enaid byw ystyria ei styria ei stat dosturus,
Ond Iesu craig yr oesoedd,
Physygwr da i laweroedd, o rai dolurus,
Pawb mi wn: Sy ag eisieu 'r meddyg hwn,
Pob cnawd ag yspryd a gadd y clefyd,
Mae pechod brychlyd yn erino 'r hollfyd crwn,
Heb fawr yn teimlo niwaid cwymp enaid cymin pwn,

Am

Am hyn: Cadd Iesu dalu 'n dynn, ei daer gondemnio
A'i watwor etto, ei fâl groeshoelio,
A'i waed yn llifo 'n llynn,
I gadw 'r dyn a gollodd, a hwnw o'i fodd ni fynn.

13. Rhoi cynig miwsig masw,
Uwch ben corph dyn yn farw dyna oferedd,
Mae corph yr eglwys hithe,
Yn farw ynghyfyng gaere, angeu 'n gorwedd,
A than: Gyfodo oddiyno i'r lan,
Nid yw tystiolaeth, am anedigaeth,
Crist a'i farwolaeth, ond megis gweniaeth gwan,
Er maint sy'n curo cerydd i'w mennydd ymhob man,
Nid dyn: Er addysg roddo 'r un,
A ddichon agor y llen gagendor,
I ddirnad nemor o gyngor Duw ei hun,
Er bod pregethwyr nifer yn gwneuthur llawer llun.

14. Ond ffyddlon dyst yr Arglwydd,
Yr yspryd glan diddanydd Duw a'i ddoniau,
Hwn sydd yn chwylio 'n fanwl,
Holl gyngor Duw a'i feddwl cywir foddau,
Y llef: A ddel o'i anian ef,
Gwna i'r byd gwynhyrfu, a'r cnawd ddiflannu,
A'r cythraul gredu dan grynu o'i gadwyn gref,
A'r eglwys lan drwy 'r hollfyd,
Wir adde ei nwylyd nef,
Ei chlô: Duw eill ei agor o,
A'n gwir ddychwelyd, dadebru ein hyspryd,
A'n ddeffro i fywyd, o'n breuddwyd yn ein bro,
Amen, a Duw yn mynnu, a byth boed fellu bo.

CAROL

# CAROL Plygain ar Grimsom Velvet; yn dangos y mynn Crist Deyrnasu yn yr enaid.

## XXII.

1. CYD ganwn ag Addolwn,
Molianwn yma ar liniau,
Yr Arglwydd Hollalluog,
Duw enwog am ein doniau,
Hwn sydd er tragwyddoldeb,
Yn ei ddisgleirdeb cyhoedd,
Yn oll, yn oll, ei allu, 'roedd cyn sylfaenu 'r nefoedd,
Yn un mewn hanfod sanctedd,
Heb rannau corph heb sylwedd,
Heb ddechre, heb ddiwedd rhyfedd yw,
Yn dri drwy 'r un gwirionedd
Tad, Mab, ag Ysbryd puredd,
Mewn arwydd weddedd yn wir Dduw,
Yn llenwi 'r nef a'r hollfyd, yn anweledig hefyd,
I gnawdol fywyd nychlyd naws,
Yn nes at ein calonne, na'n cryse sy am ein,
Cefne: Yn barnu 'n geirie a'n troie traws.

2. Heb rinwedd hwn diame, nad alle bwyd a dillad,
Mo'n cadw 'n fyw na 'n cynal,
Er cystal ŷnt yn wastad,
Pa beth yw dyn wrth hynny, ond llwyr anallu,
Hollawl? I ffrostio yn ei rymmuster,
Ar dafod ofer difawl,
Pa ham yr ymderfysga, cenhedloedd y byd yma,
Ag y myfyria rhain mor fawr?

Am

Am bethau darfodedig,
Mewn byrroes megys barrig,
Sy'n toddi 'n llithrig tu a'r llawr,
Ond eisiau credu a 'nabod,
Cyflawnder mawr y duwdod, yn yr hanfod hynod hon,
Sef yn y corph sylweddol, a wnaed trwy 'r gair
Tragwyddol: O'r forwyn freiniol union fron.

3. Hyn ydyw grym gwir grefydd,
Ei chynydd a'i chychwyniad,
Heb hyn mae 'n ofer broffes,
Yn ddiles bob addoliad,
Diolud a di elw, fydd enw Crist i ddynion,
Heb 'nabod Crist yn ddeddfwr,
Pen gwyliwr yn y galon,
I'r diben hwn o bwrpas, y daeth y gwir *Jessias*,
I lawr o'i deyrnas ar ei daith,
Yn unig i gyflawni, y gyfraith a'r Prophwydi,
Ni cheisiodd oedi gweini 'r gwaith,
Ag nid er mwyn ei gablu, ei watwar a'i ddirmygu,
Ond i deyrnasu a meddu ein mysg,
Frenhiniaeth dan ei goron,
Ag i reoli 'n ffyddlon,
Galonnau dynion glana dysg.

4. Pob brenhin sy'n teyrnasu,
Gan Arglwyddiaethu 'n ethol,
Fe gedwir ei reolaeth, ymhob llysodraeth sydol,
A Christ sydd frenhin heddwch,
Cadarnwch yn ei deyrnas,
Mae ganddo fodd i'w threfnu,
Ag i'w harddu 'n deg ei hurddas,
Yr wan ceisiwn ddyfod,
At eiriau Crist er gwybod,
Fod yr amod yn ei rym,
Mae 'n dweud fod teyrnas nefoedd,
Tu fewn i ymysgaroedd,
Ein hysprydoedd lleoedd llym,

A ydyw 'r deyrnas honno,
O'n mewn yn ein goleuo,
Sydd wedi ei haddo 'n eiddo i ni?
Ymhle mae genym deimlad,
O'r deyrnas chwaith na'i cheidwad,
Mewn barn a phrofiad yma 'n ffri?

5. Oni welwm hyn yn oleu, wrth rai rheſymeu ſumul,
Yn ol yr yſgrythyr berffaith, y gyfraith a'r efengyl,
Fod ynom ni 'n teyrnaſu,
Elynion Ieſu yn oeſog,
Y byd a'r cnawd a'r cythrel,
Mae 'n oerfel yma 'n arfog,
Mae balchder a chybydd-dod,
Cenfigen, diogi a meddwdod,
Cyfrwyſta, pechod, trallod triſt,
Yn ceulo 'ngwraidd ein calon,
Bob moment milwyr *Mamon*,
A hen elynion creulon Criſt,
Mae pleſer ofer nwyfiant,
Pob brychni, trychni, trachwant,
A gwag ogoniant goeg ei gwŷn,
Mae cabledd enllib celwydd,
Drwg araith ag ynfydrwydd,
Ond ſal yw deunydd ſywedd dyn.

6. Gorthrymder, trawſter, cnafri,
Sydd yn rheoli 'n helaeth,
Am elw 'n cadw malais,
Swydd-ymgais am orchafiaeth,
Ymryſon calon gledwch, dihirwch erthwch wrthun,
Ymddial a drwg wllys, i gynwys llid a gwenwyn,
Dig ag anghymdogaeth,
Bryd oeredd a bradwriaeth,
Ag anghredininiaeth ſyniaeth ſal,
Anghariad twyll a ffalſter,
Sy'n llygru eglwys lloegr,
I'w dwyn yn biler i dy *Baal*,

Tra

Tra delo rhain i'w dilyn,
Yn ffrydoedd mo'r gyffredin,
Y maent yn fyddin mintai fawr,
Yn cadw brenhin fhilo, rhag dwad i'w dihuno,
Dan falurio ei dŷ fe i lawr.
7. Nid ydyw 'n llefiad llafar, fel adar difawledig,
Am Grift ond rhyw gymyfgedd,
Go ryfedd a gau ryfig,
O's ŷm am gredu gwridwn, cywilyddiwn er cael,
Addyfg: Deuallwn i ni ymdwyllo,
Rhyw ymrwyfo 'n rhy amryfufg,
Mae dyfais gan y diafol,
Gwnaeth fagwyr anorchfygol,
O hyfdwyll hudol reddfol ryw,
Yn orchgudd ar ein golwg,
I'n deifio ni yn y dufwg,
A'n dwyn i fowrddrwg amlwg yw,
Oni chawn ni nerth a gallu,
Hawl pwyfig o help Iefu,
Mae wedi 'n dallu ni yn ei dwyll,
Gweddiwn Dduw o'r galon,
Gael agor ein golygon,
Gan geifio 'n buribn gyfon bwyll.
8. Ond fe ellir cael gwrthddadle,
Mewn geirie dros drugaredd,
Fod pawb yn bechaduried, a'r aned mae 'n wirionedd,
A dyfod Crift i'n cadw, a'n codi o feirw i fowredd,
Yn gyfaill rhag digofaint,
Er cymaint yw ein camwedd,
Ond gwyliwn ofod Iefu, 'n achlyfur i' ni achlefu,
Yn ffordd y fagddu o bechu byth,
Gan addo i'n hunan gnawdol,
Drwy foddion anrhefyddol, i gaere nefol gore nŷth,
Nid yw 'r yfgrythyr fanctedd, *Heb*. xii. 14.
Yn addaw dim trugaredd, *Iag*. ii. 13.
Heb dduwiol fuchedd gliriodd glain,

A chredu yn y gwrthwyneb, sy'n tro gair Duw 'n
Ffolineb; heb ddim cysondeb yn ei sain.
9. Mo'r hawd i ddynion ehud,
Yw symud y mynyddoedd,
Cyfodi 'r meirw o'u beddau,
A rhodio ar donnau 'r dyfroedd,
Ag ydyw dringo i *Seion*,
Dra chyfion drwy orchafiaeth,
Yn erbyn yr ysgrythyr,
Hoff lwybr di gyfflybiaeth,
Sgrythyrau Duw drwy ei yspryd,
Sy 'n cadw ffordd y bywyd,
Yn arfau tanllyd noethlyd naws,
Ni thorrir un o honyn, i gadw enaid undyn,
Nid â fyth trwyddyn elŷn traws,
Maent heddyw 'n daer wahoddion,
Addewydion o fendithion,
Wrth y gorchmynion rhoddion rhwydd,
Ond te maent yn felltithion,
Yn gloye a barrie cryfion,
A'n cau o *Seion* yw eu swydd.
10. Ni chafodd Crist ei hunan,
Droi heibio 'r gwppan chwerw,
Rhag torri 'r gair cywira,
Pan fwried e' yma i farw,
Ped fafai fodd i feiddio,
Heb wyro dim o'r bwriad,
Drwy undeb cowfai ei wrando,
A'i fafio ar dair deifyfiad,
Er dweud yn gyffredinol, fod Crist yn brynwr,
Breiniol; iawn digonol i ni gyd,
Ag iddo ddiodde 'n ddiddig, dros Adda,
A'i hil fyrthiedig, oedd yn golledig yn y llid,
O's cymrwn ni 'r ffordd honno,
I'w chalyn heb ei chwylio,

Nid

Nid allwn ni yno wirio ei air,
Sy'n dammio 'r byd annuwiol,
Gan ddweud fod torf anfeidrol,
Yn mynd i boen tragwyddol bair.
11. Addefwn heb gau ddyfes,
Faith rodres fath rai ydym,
Nid ŷm ond adail dywyll, er bod y ganwyll,
Genym; Mae 'n lampau 'mron diffoddi,
O ddiffyg eli ag olew,
Yn cyfgu 'n fwrth a fegur,
Ym min y budr bydew,
Er codi o haul cyfiawnder,
Byw eurdeg yn ei burder,
I roi goleuder yn ein gwlad,
Daeth amryw ddiffygiadau,
I lwydo 'n goleuadau,
Dwl yw eu fiamplau dilefâd,
Sêr firiol feiri Seion, fydd Aerod ar fwydd
*Aaron*: Rhag-haeddu achwynion heddyw 'n chwith,
Duw difgyn yma i'w dyfgu,
I fucheddu ag adeiladu,
Hyderu, plannu d'air ein plith.
12. Mil feithgant chwedeg ydynt a chweblwydd,
Attynt etto; fy am oedran Crift yr Arglwydd,
Brins hylwydd *Brenhin Shilo*,
Duw ro i ni ras i'w dderbyn,
A'i galyn fyth heb gilio,
Dan obaith ei adnabod, yn briod ein gwobrwyo,
Duw cadw ein brenhin ethol,
Y trydydd *Sior* yn firiol,
I ti 'n ddewifol weddol was,
A breiniol deulu 'r goron, rhag wllys drwg
Elynion: A thynn hwy i'r union wrth wir ras,
Dewygia gorph ein heglwys,
O'r fuchedd hen afiachus,

Sydd

Sydd yn yr ynys echrys yw,
Tro gyrrau 'r byd i'th garu,
Dan wybyr na'th adnabu,
A gwna ni fynu 'n deulu Duw.

## Carol Plygain ar Grimson Velvet; Adda 'r dyn Cynta 'n mynd yn llestr i amharch; yr ail Adda 'n cael ei wneud yn llestr i barch.

XXIII.

1 POB perchen enaid unol, anfarwol, union fwriad,
Gorfoledd i ni heddyw gael cadw gwyl ein ceidwad,
Cyflawnwyd y Prophwdi,
Fu 'n rhagfynegi o'r cynfyd,
Am had y wraig i rwygo, ag ysigo 'r sarph wenwynllyd
Ein natur ni oll a lygrwyd,
Yn y dyn cynta greuwyd, collasom fywyd ynddo fe,
Sef bywd o esmwythdra,
Anadliad y gorucha, I fyw, mhresfwylfa noddfa ne',
Troi yno fodd truenus, I fuchedd bechadurus,
Cwymp anafus oedd i ni,
Fynd allan o'r meddianne, gosodwyd ni ar y dechre,
Uchel ddonie breintie a bri,
2. Beth oedd y stât a'r natur, y darfu ein gwneuthur,
Ynddi? Hon oedd y natur ddwyfol,
Dedwyddol oedd dwad iddi,
Gwir ddelw Duw ei hunan sancteiddlan anian enwog,
O gariad a gorfoledd, diball amynedd bwyllog,
A'r natur yma roddwyd, mewn dyn o bridd a grewyd,

Fei

Fe'i cyfranwyd hi yn ei fron
A'r llestr pridd pan syrthiodd,
Naturiaeth ynddo torrodd, anffurfiodd llwyr wahanodd
A Dyn aeth iddo ei hunan, (hon,
I gynwys meddwl aflan, o farus anian gyfrwys ŵg,
Yn lle diniweidrwydd code,
Dichellion traws swriade,
Gelyniaeth gwnie dreigie drwg. (anian,
3. A Duw oedd anghyfnewidiol, yn ei fancteiddiol
A dyn aethai 'n bechadur i natur fudr aflan,
Nid allai fod cysondeb, cymundeb na bodlonrwydd,
Rhwng y ddwy natur hynny,
Oedd yn gwrthwynebu eu gilydd,
Cyfiawnder y Duw perffaeth a lanwodd o elyniaeth,
At bechod llyredigaeth dyn,
A dyn aeth mewn llidiawgrwydd,
Yn erbyn gwir fanctciddrwydd,
Da anian hylwydd Duw ei hun,
Goleuni oedd un a bywyd, a'r llall yn dwllwch pyglyd,
Marwol ysbryd unfyd oedd,
A Chyfraith Duw yn ei ddala,
'N cyhoeddi 'r farn gadarna,
I 'w ddial yma blina bloedd.
4. Trugaredd daeth i edrych gan chwenych gwneud,
Achwynion: I gadw 'r natur ddynol,
Ddinistrol, aethai 'n estron,
Os aeth y llestr cynta, o'r priddyn yma i ammarch,
Gwnawn etto 'r ail ddyn perffaith,
Ar obaith I oreubarch,
Bydd hwnw 'n llestr fanctedd, I bara hyd y diwedd,
O rywiogedd had y wraig,
I ddwyn y natur ddynol, i'r undeb perthynasol,
A'r natur ddwyfol gwreiddiol graig,
A phwyntiwyd y *Messia*, o fynwes y *Jehova*,
Yn wir ail Adda ar ei lun,
Ag ynte addawe ddwad, oen geirwir yn ei gariad,
I godi had i'w frawd ei hun.

5. Cyfiawnder

5. Cyfiawnder, mewn tawelwch
A heddwch ymgyfarfu,
Trugaredd a gwirionedd gysonedd I 'mgusanu,
A'r gair am had di lygredd, yn gydwedd hwn a gadwyd,
A morwyn bur o'i gwirfodd,
Feichiogodd o'r Addewyd,
A'r gair yn gnawd sancteiddlan,
A wnaed gan Dduw ei hunan, yn faban bychan,
Yn y byd: I wysgo natur Adda,
Cenedlau 'r dyn truana, fe'i cariodd yma 'n gyfa i gyd,
Aeth dan y pechod gwreiddiol,
Oedd yn y natur ddynol, fel achos haeddol,
Iddo ei hun: Ag a'i cymherai 'n briod
I gael o'i gywir hanfod,
Ail eni 'r duwdod yn y dyn.
6. Ar ddelw 'r dyn daiarol, pan ddaeth y grasol Iesu,
O'r genedl a'i disgwylie,
Y rhai gore y 'roedd e'n garu
Pan welent e' yn ei waeledd,
Heb ddim anrhydedd iddo,
Eu brenhin nis derbynient, ag ni ddymunent mono,
'Roedd ysbryd prophwydoliaeth,
Wedi diflannu ymmaith,
A'i hanghrediniaeth oedd yn dost,
A thraddodiadau dynion, oedd wedi ceulo eu calon,
Wrth fyw 'n anffrwythlon yn eu ffrost,
A chwedi gwneud y demel, yn ogof lladron dirgel,
Megys *Babel* chwedel chwith,
Lle bafai Duw yn ei gariad,
Doedd yno ond ffair a marchnad,
A delw addoliad rhediad rhith.
7. Pan ymddanghosodd Iesu, i wir wrthwynebu
pechod,
Ychydig a'i haddefe, er gwrthie na rhyfeddod,
Am yr Iuddewon etto nid allwn fsio arnyn,
Eu bod drwy dwyll eu pechod, di ddarbod heb ei
dderbyn,

Yr achos o'i wrthodiad, hyn oedd ei ddarostyngiad,
Am fod cariad yn ei ran,
'Roedd tan awdurdod arfog, y tair gelyniaeth lidiog,
Cleddyfau miniog ymhob man,
Llid a chynddaredd dynion, tu ag at ei dduwdod,
Cyfion: Yma 'n elynion am ei ladd,
Digofaint Duw 'n dan ysol,
Tuag at ei natur ddynol,
Am feie gwreiddiol o bob gradd.

8. 'Roedd Satan mewn gelyniaeth,
At ei lywodraeth gadarn,
Gan geisio ei demptio i bechod,
I ddyfod dan y ddyfarn,
A'r temptiwr teg ei ymadrodd, nid allodd yma ei dwyllo
Ond daliodd dan hudoliaeth y brofedigaeth honno,
Pa ham 'roedd llid anghydfod,
Gan ddynion at ei dduwdod,
Ond eisiau ei 'nabod e yma 'n wir?
Am fod yr holl genhedlaeth, Iuddewig drwy
Ddidduwiaeth, yn gorwedd mewn gelyniaeth glir,
A pham 'roedd ergyd ddirgel,
Digofaint Duw a'i gafel, I daro ei fugel,
Na chae fyw? Ond am ei fod yn gwisgo.
Y stât a'r natur honno,
Oedd wedi syrthio a digio Duw.

9. Pa ham 'roedd llid mor llydan, gan Satan tu ag atto?
Am fod ei wir awdurdod, yn drom ei dyrnod arno,
Fe wyddai i'r Arglwydd addo,
Mai drwyddo fe gorchfygud,
Pyrth uffern danllyd eirias, ei deyrnas a'i gadernid,
Fel hyn 'roedd pob naturiaeth,
Yn ymladd mewn gelyniaeth,
A'i thrwst yn helaeth trosti' hun,
Heb neb i'r Brenhin Iesu, ar faner wen i fyny,
I'w bardynu 'n fab y dyn,

Ag yntef rhoes ei ddyndod, yn Aberth i'r awdurdod;
Bu farw i bechod dyrnod du,
Ag er ei roi yn y ddaiar, tan geulan mewn ty galar
Fe dorrod byrth y carchar cry̑,
10. Gorchfygai 'r awdurdode i gyd a gode iw erbyn,
Ag wrth y groes fe'u hoeliodd, fe orfoleddodd arnyn,
Fe aeth i mewn i'w deyrnas,
Gyfaddas gywir feddwl,
A'r natur ddynol ynddo, wedi pherffeithio 'n gwbwl,
Cymododd Duw yn gyfain, y byd ag ef ei hunan,
Er mor aflan anian yw,
Mae llais yr efengyl groyw, cyhoeddi heddwch heddyw
Ag yn ein galw o feirw i fyw,
Fe ddarfu barnu pechod, dowch, mae pob peth yn barod
Llais gollyngdod yw eu llef,
Dowch bechaduriaid llwythog,
Dylodion a dyledog, at wir eneiniog Aer y nef.



# Carol Plygain ar Grimson Velvet, Argyhoeddiad o anystyriaeth rhai 'n canu ag yn cadw Plygain i gynal defod ag arfer.

## XXIV.

1. POB genau cywir ganed, pob corph ag eneid unol,
Gan ystyr beth yw trefniad, ein syniad yn bresenol,
Ein harfer ddydd Nadolig, fy am gynnig yma ganu
Er cadw Coffadwriaeth, am anedigaeth Iesu
Mae hyn yn burion bwriad, o wreiddin ei ddechreuad,
Fe weddai caniad i Dduw cu,
Ond dwad yn fucheddol, i'w babell fel ei bobol,
A'i braidd ysprydol lwyddol lu,

Mae

Mae canu i grist ein brenhin,
Yn foddion gras cyffredin,
Erioed yn dilyn deiliaid Duw,
Er hyn mae'r moddion gore, yn llygru mewn defode,
Yn eitha 'r oese 'n waeth ei ryw.

2. Cenwch ganiad newydd, medd Dafydd mewn modd difyr,
A chenwch odlau ysprydol medd yr Apostol cywir,
Ped fae ni 'n medru ystyr y ddwy ysgrythyr honno,
Nid allem ganu 'n llafar,
Tan alar troe 'n i wylo,
A dweudyd gyda 'r eglwys, hen Israel oedd gaethiwus,
Gan bobol ynys Babilon,
Pa fodd y canwn fywiol, ganiadau Seion freiniol,
Yn y wlad ddieithrol hon,
Nid allai 'r saint mewn purdeb, (rydd,
Mo'r canu i Dduw gysondeb, ond yn ei bresenoldeb
Pan gollent yr arweiniad,
Llais can oedd ar ddisgyniad,
Yn troi 'n alarnad profiad prudd,

3. Yr ŷm ninne am gael ein cynwys,
Yn 'r eglwys gyffredinol,
Ni fynnwn wadu ein bedydd, na'r grefydd wir grisnogol,
Er hyn ni cherddwn lwybre,
'R erthygle sy wrth yr eglwys,
Na'u hegwyddorion eured, nag un adduned ddownus,
Mae 'r eglwys yn ein rhwymo,
Dan feichie, a ninne 'n addo,
Y gwnawn ni rodio heb wyro 'n bur,
Wrth wllys Duw a'i feddwl, yn ei orchmyniol manwl,
A chadw 'r cwbwl heb ddim cur,
Ymwrthod a phob gwagedd, ceneddfe moese maswedd,
A hen oferedd hyn o fyd,
A holl waith Satan gyfrwys, a'r amod dweud yn rymus,
Y gwnawn yn gofus hyn i gyd.

4. Rhyfeddob

4. Rhyfeddol mo'r druenus, wallgofus llesg ag afiach
Yw 'n henaid heb ddihuno, mae'n amser deffro bellach
Yn cysgu ymysg y meirw, a'i ddrych a'i sulw 'n salach
Heb deimlo pwys bygythion,
Gair union y gwirionedd,
Oni ddaw 'r Arglwydd Iesu, drwy ei yspryd i lefaru,
Nid ellir mo'r dadebru dyn,
Lleferydd Crist yn galw, sydd yn cyfodi 'r meirw,
Pawb ettyb wrth ei henw ei hun,
Heb hyn mae 'n ofer byngcie,
A chyflawniad ordeinhade,
A'r holl bregethe gore i gyd,
Pob egwyddorion crefydd, sy 'n ofer fel sain efydd,
Dan enw bedydd yn y byd.
5. Oferedd cynal dyddie, a gwylie gosodedig,
Am fod yr oes bresennol, mo'r gnawdol a llygredig,
Nid ydyw cadw plygain, ond arwain i flindere,
Drwy gynwys mwy o bechod,
Mewn meddwdod a phlesere,
O eisie ein bod mewn teimlad,
O achos ein cynhulliad,
A pha lesâd oddiwrtho sy,
Pe medrem roi derbyniad, i'r newydd da sy'n dwad,
O eni Crist ein ceidwad cu,
Mae 'r plant sy ar fronne Seion,
Yn derbyn gwir gysuron,
O'r newydd tirion heb ddim twyll,
A'u holl orfoledd beunydd, dan awyr yw 'r dyn newydd
Drwy gywir ffydd a gair a phwyll.
6. Pan aned y Meseias, 'roedd plant y deyrnas llawen
Yn nabod gwedd ei wyneb,
Ym mhreseb gwael yr ychen,
Bugeilied gwyliadwrus, oedd felus eu gorfoledd,
Yn derbyn y newyddion,
Gan yr angylion peredd,
A r doethion yn ymdeithio, i roi anrhegion iddo,

Doe

Den *Simeon* i'w gowleidio 'n glau,
Drwy yspryd y gwirionedd,
Fe aeth i'r demel sanctedd,
Ag a su 'n rhysedd i'w sawrhau.
Ag *Anna* hen Brophwydes,
A wnaeth i'w goffa gyffes,
Yn rhwydd ei hanes rhoddai hon,
Pob didwyll wir gredadyn,
Adwaenai Grist yn blentyn,
Gywira brenin ger ei bron.
7. A phlant y byd annuwiol, mewn bydol anwybodaeth
Am dano oedd wag siariadus,
Watworus eu naturiaeth,
Cawn etto 'r un fath natur, drwy 'r yspryd amur yma.
I wadu Crist ysprydol, tueddol yw plant Adda,
Mae Crist o'r dechre i'r diwedd,
Cyn creu daiarol sylwedd,
Yn wir etifedd mawr y tad,
Un waith mewn taith naturiol,
Fe'i gwnaed o wraig yn gnawdol,
Gorph personol haeddol had,
A chwedi llwyr ddinystro, corph y farwolaeth honno,
Drwy ei groeshoelio garw senn,
Mae Crist a'i fywyd ynddo,
Heb drangc na gorphen iddo,
Yn gwir oleuo 'r efengyl wen.
8. Ond yn ei ysprydol Berson, mae i dynion ei (feddiant,
Nid yma 'n gorph gwrthddrychiol,
Dangosol yn teyrnasu,
Yr yspryd glan sy 'n deilliaw, yn ddistaw
Iawn dda ystyr: O'r tad a'r mab mae 'n disgyn,
Iach hedyn i bechadur,
A thrwy bregethiad bywiol, a ffydd a gweddi nerthol,
Y mae gair grasol y gwir Grist,
Yn ymgenhedlu ei hunan, yn yspryd bywyd buan,
Yn yr enaid egwan truan trist,

A'r enaid ſy 'n dihuno, a'r meddwl yn goleuo,
Pan gwir enynno 'r gair yn Iawn,
Mae 'n adnewddu 'r teimlad, a'r ferch yn gwyro,
I gariad, a grym yn dwad i bob dawn.

9. A dyna y rhagorfreintie, eodd gan y ſeintie ffyddlon,
A'r goedd yn wir egwyddor, yn agor y damhegion,
Ond dammeg i'r byd yma, a'r dynion mwya eu donieu,
Yw 'r ſgrythyr fendigedig, guddiedig gyhoeddiadeu,
Nid Iaith nag un ymadrodd, oddiallan a ddeuallodd,
Nag a brofodd eigion braint,
Y golud mawr dirgeledd, a'r fael o wir orfoledd,
Y ſydd mewn ſylwedd gan y Saint,
Nid hanes Criſt na'i henw, wrth y llythyren farw,
Nid llûn ei ddelw a'i bwrw o bell,
Ond Criſt a'i berffaith natur,
Yn fywyd mewn pechadur,
A ddwg wrth feſur gyſur gwell.

10. Bydd fellu 'r gair oddiallan, yn wiwlan union
A'r tyſt tu fewn i'w ddeuall, (alwad
Nod diball yn attebiad,
Beth yw 'r wahaniaeth honno,
'Sy'n ffurfio dyn yn griſtion, (galon,
Dim llai na Chriſt a'i eglwys, oen gwiwlwys yn y
Dim llai na gwir feddiannu, dewiſol yſpryd Ieſu,
Hwn ſy'n gorchfygu gallu 'r byd, (Satan
Hwn ſydd yn chwylio allan, ddyfnderoedd dichell
A chnawd a hunan dyn o hyd,
A Duw o'i fawr drugaredd, fo 'n caniadhau i ni gyredd,
Y briodoledd haeledd hon,
Fod Angel y cyfammod, ail berſon glan y drindod,
A'i enw 'n briod yn ein bron.

CAROL



# CAROL Plygain ar Greeks in Troy, yn cynwys ychydig ystyriaeth am greadigaeth y byd, Happusrwydd dyn cyn y cwymp; gwerthfawrogrwydd gair Duw, hudoliaeth y cythraul yn temptio 'r dyn; trugaredd Duw yn danfon gwaredigaeth.

## XXV.

1. POB un sydd ganddo glustie, I wrando 'r ysgrythyre,
Ystyried nerthol wrthie donie Duw,
Yn gynta peth i'w henwi, rhaglluniodd y goleuni,
Llewyrchodd hwn ond erchi yn lan ei liw,
Ag am yr holl greadigaeth,
Nid oedd ond archiad unwaith, er glanwaith glod,
Pan agorai Duw ei ene, a dweud bydded,
Fellu bydde; Pob peth a fynne fod,
Fe greodd y creaduriaid, a phob peth byw di enaid,
Cyn y dyn; ag yno lluniodd hwnw,
O'r llaid y pridd ar lludw, a'r delw ei henw ei hun,
2. Anadlodd yn ei ffroene, fe ae 'n enaid byw di feie,
Yn llawn o bob rhinwedde, dethe doeth,
Gwybodaeth, pwyll a synwyr, I ffrwyno pob creadur,
I ymostwn i'w pen meistyr cywyr coeth,
Ag un peth mwy rhagorol, rhoes iddo rodd neillduol,
Ddymunol Iawn,
Sef gair gorchymyn sanctedd, o gyfraith y gwirionedd,
A'r duedd, goreu dawn,

Y perlyn gwerthfawrocca, i'w ddydd a gafodd Adda,
Yn rhwydda rhodd,
Oedd y gorchymyn bywiol, i'w gadw'n fyw,
'N dragwyddol; ufuddol o'i wir fodd.
3. Ond yfpryd cyfeiliorni, gelyniaeth y goleuni,
Ddraig hyll oedd wedi colli daioni Duw,
Hwn etto 'n ddrwg ei natur,
Sy heb ruso 'n gweithio 'n bryfur,
Yn dywyfog yn yr awyr anwar yw,
Pan ganfu Adda ag Efa,
Mewn anrhydeddus drigfa,
Gan y *Jehovah* ei hun,
Dyfeifiodd ffordd i'w twyllo, i dorri 'r gyfraith honno
Oedd wedi hordeinio i'r dyn,
Cadd rydid anwaredol, i fynd i'r farph gyfrwyfol,
Foefol farn; A'i bregeth ffals a gredwyd,
Gorchymyn gair y bywyd, a fathrwyd yno 'n farn.
4. Ag yno troed y gyfraeth, o fywyd i farwolaeth,
O gariad i elyniaeth drwblaeth drud,
Ag Adda aeth o'r goleuni, i'r twllwch a'r trueni,
O *Eden* ardd mawrhydi i ymboeni a'r byd,
I fwytta bara cyftudd, drwy chwys a llafur beunydd,
Am ddigio 'r Arglwydd Dduw,
A'r ddaiar a felldithwyd,
Drain blinion ynddi a blannwyd,
Fe'u rhoddwyd o bob rhyw,
Ynghanol barn digllonedd, Duw gofiodd am drugaredd
Dofedd dad; addawodd had o heppil,
Y wraig i yfigo 'r bwyftfil,
Drwy rym yr efengyl rad.
5. Wrth hynny o efengyl brydlon,
Difgwyliodd y duwiolion,
Gan gredu i'r addewidion yn ddi wad,
O'r diwedd Duw gywirodd, ei air ei hun a feliodd,
Danfonodd ag fe'i cofiodd, heb neccaad,

Y gair a wnaeth y nefoedd,
Haul, lloer a ser niferoedd,
Y tir a'r moroedd mawr,
A dyna 'r gair gae ei ddanfon, drwy 'r Angel,
*Gabriel* gyfion; at forwyn wirion wawr,
A'r Angel wrth lefaru, ni wnaeth ond ei chyfarchu,
Gyrru 'r gair; Pan gredodd hon fun addfwyn,
Darparwyd e'n fab pürwyn,
Ynghrôth y forwyn Fair.
6. Y gair a wnaed yn gynta,
Yn enaid byw yn Adda,
Ae 'n gorph ynghnawd *Maria* mwyna mun,
A hwn yw 'r corph ysprydol, a wnaed yn fara bywiol,
Aberth enaid duwiol ymborth dyn,
Ond chwiliwn ni 'r 'sgrythyre, a theimlwn ein cyflyre,
A phwys ein beie a'n bâr,
Mae hwn yn gorph dirgeledd,
Does neb yn ei drugaredd,
A'i cyrredd ond a'i câr,
Trugaredd ryfedd ydi,
Fod seintiau na phropwydi,
Gwedi eu cael,
Am nad oedd neb yn haeddu,
Na chyfion i'w derchafu,
I ymaelu a chymaint mael.
7. Pob un a garo ei ened,
Rhag myned hwn yn golled,
Ystyried a difrifed, cymred fraw,
Edryched ar ei fuchedd,
Pa yspryd mae 'n ei goledd,
Pa ddewis o Ddau ddiwedd, iddo ddaw,
Mae llawer yr ymddallu, wrth glywed i Grist Iesu,
Bardynu a phrynu dyn,
Yn disgwyl am drugaredd,
Yn erbyn barn gwirionedd,

Mewn annuwioledd wŷn,
Mae hyn yn wir difrifol,
Ar goedd mai i'r tan tragwyddol,
Yr â 'r annuwiol noeth,
I ddiodde am eu pechode, losgfeydd, a cholyn,
Ange; ar beirie uffern boeth.
8. Mae Crist yn waredigaeth,
Yn awdwr iechydwriaeth,
I'w ddefaid ufudd llywaith ef fydd eu llwydd,
Nid ydyw fe 'n gwaredu mo'r lleill na chymro eu,
Dysgu; na fedrant ond troseddu, yn trin eu swydd,
Y rhai sy 'n llwyr golledig,
Mewn yspryd cystuddiedig,
A diffyg meddyg mwyn,
Dyna 'r carcharorion,
Mae Crist yn roddi 'n rhyddion,
Fe'u geilw 'n union wyn,
Y rhai sy a syched arnyn,
Ag yn dwyn yma newyn am y nef,
Ca'nt fwytta 'r manna bywiol,
A dwr o'r graig ysprydol, digonol gidag ef.
9. A rhai sy'n llawn heb eisieu,
Ag yn esmwyth eu calonneu,
Yn ymborthi a'u melus chwanteu cibe coeg,
Ca'nt dderbyn a chymheryd, eu gwynfyd yn eu bywyd
O blefer ofer ynfyd surllyd soeg,
Ymborthi ar sudron sorod,
Fel cigfrain ar furgynnod, sawyr pechod sy,
'N ein cadw'n llawn heb fatter,
Na newyn am gyfiawnder,
O fraint uchelder fry,
Ond Duw a'n hargyhoeddo,
Ni etto i droi ag i beidio a drwg y byd,
Cyn dwad hirnos angeu, a'n galw i'r farn,
Yn foreu; pan fo ein tafodeu 'n fud.

# Carol Plygain, ar Farwel Ned Pyw; Ychydig o ystyriaeth ynghylch ffrwythau 'r pren gwaharddedig.

## XXVI.

1. WEL dyma 'r ŵyl diameu erioed,
I'w henw rhoed mawrhydi,
O oes i oes, o awr i awr, mae dwned mawr am dani,
Gwyl ganedigaeth Iesu Ior,
Doe 'r nefol gôr howddgara,
A newyddion da mewn addfwyn dôn,
Am nodded meibion Adda,
Mae achos rhyfeddu, a pheth ymresymu,
Mo'r isel doe 'r Iesu i'r byd yn y beudŷ,
Heb lettŷ na gwelŷ nag aelwyd,
Ei fwriad cyfeiriol, oedd dattod annuwiol,
Weithredoedd y diafol, ag ymddwyn ei bobol,
Oedd farwol i fywiol ail fywyd.
2. Fe greuwyd Adda ag Efa gynt,
Mewn perffaith helynt hylwydd,
Ymharadwys wiwlwys wlad,
Cyn coelio tad y celwydd,
Yn fawr ei dwyll yn foreu daeth,
Drwg anghrediniaeth dynion,
Hwn oedd y pechod cynta i gid, i ennyn llid trallodion.
Anghredu gair eglur, Duw tad ei benadur,
Rhoi cred i'r creadur, whae Adda 'n bechadur,
Doe gwewyr y dolur i'w deulu,
A dyma 'r gynhysgaeth, nid dedwydd dreftadaeth,

Adawai i'w hiliogaeth, ar ol ei farwolaeth,
Trwm lwyth anghrediniaeth i'w dynnu.
3. Duw ddweudodd na fwyttewch o'r pren,
Rhag angeu celen cilwg,
A'r farph a ddweudodd, o's bwytaen,
Mwy gwiwlan caen eu golwg,
Ni fyddwch feirw chwi gewch fyw,
Nid ydyw Duw mo'r ddigllon,
Haws i chwi gyd ymgomio ag e,
Fel duwie dethe doethion,
A chredai 'r wraig hudol, bregethiad rhagrithiol,
O flaen gwirioneddol orchymyn Duw nefol,
A'r ffrwythau dymunol hi a'u mynnai,
Fel hyn anghrediniaeth,
Ae'n weithred llofruddiaeth,
Trofeddiad y gyfraeth, a barn damnedigaeth,
I'r hollfyd ar unwaith, a rannai.
4. Ond gair Duw cyfiawn uniawn wir,
Ni fynnai ar dir, mo'i dorri,
A geiriau 'r farph a'i theg wers hir,
Ae 'n eglur anwir i ni,
Gwir delw Duw am gredu i'r fall,
Mawr oedd y gwall a gollent,
A delw Satan diles yw,
Dan gerydd Duw a garient,
Y cariad a oerodd, a'r deuall a d'wllodd,
Euogrwydd a gododd, a'r meddwl cymyfgodd,
Anhwyliodd newydiodd y nwydau,
Yn lle mynd yn ddoethion,
Hwy aen yn ynfydion,
I ymguddio eu cyrph noethion,
Rhag chwiliwr y galon,
Sy'n gweled dirgelion a goleu.
5. O brefenoldeb Duw ei hun,
Aeth Adda 'n ddyn daiarol,
I ymferchu a'r ffrwythau drwg a da,

Newynu am fara anianol,
Yn fawr ei boen i farw a byw,
A digter Duw yn ei dywys,
Heb arno chwant ŵr' methiant mwyth,
I reidiol ffrwyth paradwys,
A ninne 'n wenwynig, yn blasu ffrwyth blysig,
Y pren gwaharddedig, drwg a dâ'n gymysgedig
Fel Adda faeliedig ffol ydym,
Gwrandawn ar bregethe, gweddiwn ar linie,
Gwnawn borthi ein trachwante, gwnawn yma dda
weithie,
A gwneuthur draw gastie drwg ystŷm.
6. Rhoi elusen ag un llaw, fel gweithred hylaw
haelwych,
Ag a'r llaw arall gwasgu 'r gwan,
Mewn amryw fan yn fynych,
Gwneud gonestrywdd swydd ddi sen,
Drachefen ymdderchafu,
Mewn cybydd-dod twyll a thrais,
Swydd ymgais cynfigenu,
A'r cwbwl a henwyd, a chwaneg sy i'w ddweudyd,
Yw'r ffrwyth a waharddwyd y da a'r drwg hefyd,
Geir oll yn frycheulyd ond chwilio,
A'r ffrwyth yma gowsom, yn Adda ni a wyddom,
Rhyw ddistryw rhy ddwysdrom,
Roe uffernol sarph arnom, sy mhob un o honom ni
heno.
7. Gweithredoedd Satan lydan lid,
Yw rhain i gyd i'w gadel,
Er mwyn eu dattod trallod trist, anfonwyd Crist yn Angel
I'w ddefaid daeth yn ddifai twr,
Ag yn waredwr rhadol,
Rhag eu pechodau ceingciau caeth,
Y pren gwybodaeth bydol,
A'u harwain mewn rheol, I ddwad yn dduwiol,

I fwytta o'r pren bywiol, wir ymborth ysprydol,
Pur ffrwythau priodol paradwys,
Gwirionedd a chariad, ffydd cywir ddychweliad,
Ag yspryd mabwysiad,
Newydd-deb ymdrwsiad,
Ym mhrofiad arogliad yr eglwys.

8. Wel dyna 'r ffrwythau peraidd flas,
Sy'n tyfu o ras yr Iesu,
Heb eiriach i ni o bur iachâd,
Fe 'u ceir yn rhad ond credu,
Fel hyn y gwir ddattodir gwaith,
Y sarph a'r graith ragrithiol,
Goleuni Duw i'r lann a'n dwg,
O d'wllwch dufwg diafol,
Yr enaid sy'n teimlo 'r tywyllwch hwn ynddo,
A ddaw i weddio, a Christ a dry atto,
I'w dwyso ag i'w fforddio ceiff urddas,
A'r llall sy 'n ddigonol,
Yn ddoeth ag yn ddoniol,
Adewir yn gnawdol, i'w chwantau naturiol,
A'r ddelw 'r daiarol ddyn diras.

9. Gwasanaeth Crist yn nyddieu ei gnawd,
Yn ddyn tylawd oedd ledio,
Pob un a gredai a chalon wir
I *Sion* dir i dario,
Gweithio 'roedd ar goedd wr gwiw,
Orchwyliaeth Duw, a'i chalyn,
Pregethu 'r efengyl i'n rhyddhau,
O gul gadwynau 'r gelyn,
Gwnae wrthiau yn ei nerthoedd,
Ar dir ag ar foroedd,
Danghosai i'r cenhedloedd, y llwybr i'r nefoedd,
Oedd drwy bob ynysoed yn oesi,
Fe gymrodd waith meddyg, I rwymo y rhai ysig,
Gwnai 'n llariaidd y lloerig,
Rhoi bywyd creuedig, i'r meirw trangcedig a'u (codi.

10. Mae

10. Mae etto ei weinidogaeth deg,
Ar osteg mewn gwir ystyr;
Ymhorth yr enaid yno 'r aeth,
Nid mewn tywysogaeth segur,
Sef dirgel weinidogaeth gu, yr yspryd sy 'n diddanu,
Yn hon mae 'n trin y meddwl trô,
'N llafurio ag yn llefaru,
Mae 'n symud mynydde, amheuon, drwg dybie,
Yn rhodio dysndere, 'n gostegu tersysge,
Ar wyneb môr donne; anghrediniaeth,
Yn dysgu 'n cyfarwyddo, eu braidd a'u bur eiddo,
A'u gwiwlan fugeilio; a'r galon lle delo,
Mae yn y fron honno ei frenhiniaeth.
11. Nid digon i ni am Iesu gwynn,
Yw derbyn hyn o hanes,
Ei fod ef wedi ei eni o fair,
Wrth goffa ei air ar gyffes,
Addef ein twyll mai Adda ein tad,
A'n gwerthai o frad afreidiol
A Christ a'n prynodd, eurfodd oen,
Rhag goddef poen dragwyddol,
Bodlonir ar hynny, mae mil yn hyderu,
Yr ant wedi eu prynu, yn fall i'r nef fellu,
A'u twyll yn rhyw fagu 'n rhyfygus,
A'r enaid mewn dalfa,
Heb deimlo 'r cyfyngdra,
Na gwreiddiol ddrwg Adda, na swydd y *Messia*,
Yn eu tynnu nhw o'r ana truenus.
12. Onid oes yma synna i'w sôn,
Ddallineb calon coeliwch,
Och! gymaint swm o honom sy,
Ynghallu cry 'r tywyllwch,
Goleuni yw Crist mewn glana cred,
A nodded union addysg,
A rhai sy 'n dysgu ganddo don,
Dan argyhoeddion hyddysg,

Pan

Pan oedd newydd eni llewyrchodd goleuni,
Fe rwygodd y llenni oedd gynt yn cysgodi,
Tywynnodd Haul i ni hwyl ened,
Ond tra bo 'r ddaiaren, rhyngom ni a'r heulen,
Mae 'r nos yn yr wybren, yn t'wllu 'r ffurfafen,
Na welwn du dalen ein dyled.
13. A thra bo 'r syniad cnawdol sy,
A'r wllwys du, daiarol,
Rhwng yr enaid gwan ei sail,
A Christ yr haul ysprydol,
Mae hirnos gaua, pella pall,
Yn t'wllu 'r deuall duwiol,
Na welwn ni mo'r ffordd o'i phen,
Sy i'w rhodio 'n angenrheidiol,
Awn allan o'n hwllys, daiarol a dyrus,
A'n chwantau cybyddus,
Daw'r dydd anrhydeddus,
Ymddengys yr hwylus, wawr heulog,
Mae 'r efengyl yn dysgu,
I ni hunan ymwadu,
Gan ffyddlon wir gredu,
Fel 'r ŷm ni 'n proffesu,
I galyn pwynt Iesu ein pen t'wysog.

CAROL

# CAROL Plygain ar Greece a Troy; yn dangos fel yr ym yn addef Crist drwy ein syniadau cnawdol, ag heb ddirnad gweithrediad yr yspryd glân, yn yr oes bresenol.

## XXVII.

1. POB Cristion a fedyddied,
Ag enw Crist gogoned,
Ystyried ag edryched yn y drŷch,
Pa beth yw dyled Cristion,
Ond cadw 'r gwir orchmynion,
A rhodio 'n ffyddlon galon, 'r union rŷch,
O's dyna 'n rhan a'n dyled,
Pob un a garo ei ened,
Ymholed yma ei hun,
Ní fynnwn ni att ein calon, nad ydym ni 'n
Gristnogion: bawb trwyddon bob rhyw-ddyn,
Pe dweudai rhywun amgen,
Mai nid cristogion yden digien wrtho 'n dost,
Er hyn mae 'n eglur ddigon, nad eill fod anghred
Ddynion: Ddim mwy anffrwythlon ffrost.
2. Diameu ein bod yn credu,
Am bwngc cnawdoliaeth,
Iesu; nid oes mo'r dadl am hynny i'w deuru'n dynn
Ond mae 'n y ffydd gristnogol,
I'r dynion gwir grediniol,
Bwngc arall yn wahanol iawn i hyn,
'Rŷm ninne wedi addo, pan gowsom ein bedyddio,

Trwy

Trwy weddio triſt,
Y bydlein ddefaid ufudd,
I gredu o air yr Arglwydd,
Holl byngciau crefyd Criſt.
Dyſgaſom ddweudyd hefyd, ein bod yn credu'n,
'R yſpryd: Glan hyfryd clir,
A bod eglwys lân ffyddlondeb, a ſeintie mewn;
Cymundeb, diweirdeb yma ar dir.
3. O frodur cyd ſwriadwn,
Am helaeth wir ymholwn,
Ymhle mae rhain yſtyriwn bawb ei ſtad,
Da gwyddom yn gyhoeddus,
Nad oes duwiolion dilys,
Na ſeintieu gorfoleddus yn y wlad,
Er hyn 'r ŷm ni 'n bodloni, a'r hanes ddarſod geni,
Heb oedi Griſt i'r byd,
A'i fod ef wedi ein prynu 'n gu radol a'n gwaredu,
Gwnawn ddal ar hynny o hyd,
'R holl ddrwg weithredwyr aflan,
Holl grwydraid a fall gredan' fellu 'n grŷ,
Does dim rhagoriaeth yma,
Rhwng ffydd y goreu a'r gwaetha,
Pawb a henwa Griſt yn hŷ.
4. A gawn ni ymhellach holi,
O'r llyfr cyffredin weddi,
A ydi 'n ddigon i ni o gyfri i gyd?
Yn lle holl byngciau crefydd, gyfaddef fod yr,
Arglwydd: mewn cnawd,
A chyſtudd beunydd yn y byd,
Addefwn ei genhedliad, ag fel bu 'n diodde,
O gariad; dan *Bontius Pilad* boen,
A'i farw a'i roi 'n y dyſnfedd,
A'i godi o feirw i fawredd, drwy rinwedd eirwir oen,
Hyn allwn gredu 'n gyfan,
Drwy ddull ar eiriau oddiallan, anian Iâch,
Ag etto byw 'n eſtroniaid,
A'r gwir eiriolwr euraid, heb uno a'r enaid bâch.

5. Ond

5. Ond dyma 'r pwngc dirgelaidd,
O'r grefydd wir griftnogaidd,
Sef credu 'n yr yfpryd fanctaidd gloywaidd glân,
Yr yftyr hwn o'n credo,
Trown atto i'w gywir deimlo,
A'i gofio rwy 'n dymuno ar fawr a mân,
Nid credu fod yn rhywle, yfpryd glan di fryche,
Ag yn y feintie gynt,
Nid ŷm ddim nes i'r Iefu,
Na gwell wrth dybio fellu,
Neu gredu hynny ar hynt,
Mae 'r yfpryd cywir anian,
A'i reol yma rwan, yn ei ryw,
'N ddirgelaidd yn y galon,
At alwad y duwiolion, holl weifion dynion Duw.
6. Fel ag yr oedd o'r dechre, y mae, bydd
Hyd ddiwedd dyddie,
'R gwir Grift ymhob rhyw gongle o barthe 'r byd,
A'r byd nid yw 'n ei weled,
Ond fel mae 'n agor llyged,
Ei anwyl wir ffyddlonied druenied drud,
Pa fodd y profir allan,
Fod Crift ein myfg rwan,
'Nd yw fe'n anian yn y ne,
Mo'r wir a'i fod yn Arglwydd,
Cyn *Abraham* oen ebrwydd,
Mae etto 'n llywydd ymhob lle,
Fe ddweudai o'i eneu fanctedd,
Y byddai hyd y diwedd yma ar dir,
Yn 'r yfpryd glan diddanydd.
Yn cadw ei ddefaid ufudd,
Ond dyna ei arwydd wir.
7. Y gwir yfpryd fy 'n goleuo,
Pob cywir ddyn feddiano,
At Iefu mae 'n ei dwyfo heb wyro 'n bur,
A'r gwir addolwyr fanctedd,

Addolant Dduw 'n ddi duedd,
Yn yfpryd y gwirionedd waredd wyr,
'R Apoftol fydd yn tyftio,
Sawl fy heb yr yfpryd ganddo,
Nad eiddo Duw a fydd,
'Does neb a gallu, ganddo i gredu na gweddio,
Hebddo ei fforddio ei ffydd,
A'r fawl fy'n credu hebddo,
Nid ydyw 'r Crift fydd ganddo, i'w dybio ar dir,
Ond anghrift heb oleuni, ag yfpryd cyfeiliorni,
Pan ddelo i gyfri gwir.
8. Nid eill un dyn daiarol, mo gredu 'r ffydd
Griftnogol: Heb yfpryd bywyd bywiol ynddo 'n bod
Pe gallai nid gwahanol, mo ffydd y dyn annuwiol,
A ffydd y Saint bucheddol nefol nod,
Mae cymaint o wahaniaeth,
Rhwng ffydd mewn yfprydoliaeth,
A ffydd naturiaeth dyn,
Oes, cymaint rhagor heddyw,
Ag fydd rhwng byw a marw,
Ni thâl yr enw ddim i 'r un,
Mae *Iago* 'r gwir Apoftol, yn fon am ffydd,
Anianol, Farwol fud,
A llawer iawn fydd etto,
Yn credu ynghrift a honno,
I'w twyllo er boddio 'r byd.
9. Pe meddei ni 'r ffydd fywiol,
Fodd union yn feddianol,
Yfprydol rodd Duw nefol duwiol ddawn,
Aem ni fel y bugeilied, â'r doethion wyr dieithred,
At Iefu Grift i 'mweled drwy wiw-gred iawn,
Nid pellach yw ei dduwdod,
I ni na nhwythe i'w ganfod, ar ammod rydd,
Ni allafai rhain drwy gariad,
Ar ddeulin roi iddo addoliad,
Heb wir hyfforddiad ffydd,

Bu

Bu gynt mewn cnawd i'w nabod,
Anian mawr y duwdod yma ar dir,
Mae etto Grist 'r un ffunud,
Yn eglurhad yr ysbryd,
Yn agorud i ni 'r gwir.
10. Wrth hynny cyd ymgodwn,
Am Iesu ymorolwn,
A chwiliwn ymofynnwn am y fan,
Lle mae 'r *Messia* sanctedd,
Yn ysbryd y gwirionedd,
Awn yno i gael o'i rinwedd anwyl ran,
Can's yno mae ei addewydion,
Gyfarfod a'r gwir gristion,
Mewn ffyddlon ffydd,
Arferwn fynych weddi, am lewyrch ei oleuni,
O naws difri nos a dydd,
Duw gwarchad ni at y gorchwyl,
I gredu 'r wir Efengyl anwyl wen,
A dyro 'th ras yn bendant,
I gynal dy ogoniant,
Er mwyniant i ni, *Amen*.



CAROL Plygain ar gwêl yr adeilad; yr Angylion syrthiedig wedi torri 'r gyfraith eu hunain, yn hudo Adda ag Efa i gyflwr truenus, a Duw yn eu hadferu hwy o'r stad honno; ychydig o ystyriaeth am anedigaeth Crist ac anghrediniaeth dynion i'w dderbyn ef.

## XXVIII.

1. WELE dyma 'r wŷl bennodol,
I seinio mawl cysonol, arferol swriad,
Er cofio ganedigaeth, gorchafiaeth,
Unig odiaeth union geidwad,
Duw mawr; cyn llunio nef na llawr,
'Roedd cyfraith ganddo, gwedi ei hordeinio,
Nad ellid altro na gwyro dim o'r gwawr,
I achub angel hyfryd na dyn am funud awr,
Di nam; fod Duw 'n eiddigus am,
Ei lân orchmynion, pan droe 'r Angylion,
Yn ddamnedigion 'roedd purion achos pam,
O herwydd troi nid alle, mo'i gymwys ddeddfe 'n gam.
2. 'R Angylion hyn oedd grwydraid,
Ar ol eu troi 'n gythreuliaid a gwaeth rheolaeth,
A dichell yn eu meddwl,
O ran eu bod yn gwbwl heb un gobaith,
Pan wnaeth: Duw ddyn pwy gynta ddaeth?
Ond un o'u peniaeth, fel glan gydymaeth,

A

A wnae gymdogaeth a'u ffri athrawiaeth ffraeth,
I ymweled a'r diniwaid, wirioniaid yno 'r aeth,
Gwir yw: Fo welai eu bod yn byw,
Mewn cyflwr enwog, grafol gwrefog,
Hardd goreurog coronog rywiog ryw,
A chwedi gwneud yn hoyw ar lun a delw Duw.
3. Wrth weld mo'r ddedwydd oedden,
Fo fagodd fawr genfigen filen fales,
Ag mewn ymddygiad gweddol,
Doe attynt yn ddieithrol ar foesol fusnes,
Ar lun: Y sarph a hon oedd un,
O r call fwystfilod, goreu eu gwybod,
A nhwythau heb ganfod, mo waelod eu ddrwg wyn,
Wrth ymrodresu a r ddynes, cae 'r fantes ar y fun,
Ei hun: Fo wyddai o's torrai dyn,
Air Duw perffaith, nad 'oedd mo r ffafraeth,
Fod cledde ei gyfraith, gelyniaeth ar ei glun,
Y safai colyn angeu yn eu calonneu ynglyn,
4. Ag fellu cadd o'i wllys,
Gwnaeth Adda 'n ddyn anhapus, a ninne ei heppil,
Yn lle perffeithrwydd natur,
'Rhoedd ar y dyn heb ystyr nod y bwystfil,
Pawb aeth: dan bechod syndod saeth,
Drwy gwympiad Adda, o'r lle dedwydda,
I'r tywyllwch eitha, cyfyngdra dua daeth,
A dygyn gofpedigaeth,
Am dorri 'r gyfraith gaeth,
Duw 'n twr: Sydd gyfiawn, uniawn wr,
A'i air mo r waftad, heb ynddo droiad,
Na chyfnewydiad, heb ynddo fiarad fiwr,
O's dywaid ef wrth y creigie,
Nhw dron yn llynnie dwr.
5. Er dweud o'r sarph wrth Adda,
Ni byddwch feirw er bwytta,
'R ffrwyth tecca tycciant,

Nid

Nid oes am dorri afal,
Mo'r achos i Dduw ddial heb roi maddeuant,
Drwy dryth: Heb ddangos chwerw chwyth,
Troi 'r ammodai, mawr nid allai,
O ran Duw ddweudasai,
A'i air a safai 'n sŷth,
Na archwaethwch mo hwn accw,
Rhag i chwi feirw fyth,
Ar ol: Y fargen ddrud ddi 'rol,
A wnai 'n henafiaid,
Sef gwerthu eu henaid,
Am felus dammaid, begeriaid ffyliaid ffôl,
I ardd paradwys etto nid allent neidio 'n ôl.
6. Er hyn tosturiai 'r Arglwydd,
I wneud cyfammod newydd arwydd wrol,
I Adda rhoes addewyd,
Am Grist gwir bren y bywyd a brenhin bywiol,
Hwn yw: Di dwyll eneiniog Duw;
A ddaeth i eiriol dros ei bobol,
Fel y cae 'r duwiol, ufuddol fodd i fyw,
Fe dynnodd golyn ange,
Iachaodd o'i fronne ei friw,
Yn ddyn: Fe gadd ei eni o un,
O ferched dedwydd, dinas Dafydd,
Heb iddi arwydd gwr beunydd gore bun,
Gair Duw orchmynnodd iddi feichiogi o honi hun,
7. A'r byd oedd er cwymp Adda,
Heb 'nabod mo'r gorucha, cywira ei araith,
Er iddo ei hargyhoeddi,
Drwy *Moses* a'r Prophwydi a'i holi 'n helaith,
Pan ddaeth: E' o groth y forwyn faeth,
Yn wan eginyn yn nyddiau trablin,
*Herod* frenhin, gwr gerwin cethin caeth,
I'w erbyn yn arfogion cyffroadd gelynion ffraeth,
Doedd gwiw: Gan nemor un yn fyw,
Roi cred galonnog, mai 'r ior galluog,
Sef

Sef Crist eneiniog, ardderchog rywiog ryw,
A rwymid mewn cadache, pwy a'i haddole 'n Dduw?
8. Ond uwch ei ben i'w chanfod,
'Roedd seren arwydd hynod, i roddi ei hanes,
Ag at fugeiliaid gwaelion,
Doe 'r newydd gan angylion, amcanion cynnes,
Er hyn 'roedd anghrediniaeth dynn,
Yn calon g'ledu 'r byd o'i ddeutu,
Ni fedrent gredu ond syniad hynny 'n fynn,
Mae gyda 'r ŷch mewn beudŷ,
Y genid Iesu gwyn,
Mwy fwy: O arwyddion iddynt hwy,
A wnaeth ei hunan pan ddaeth i oedran,
Rhoi 'r llesg a'r egwan ddyn anian yn ei nwy,
Iachau y lloerig ddynion, a'r cleifion o bob clwy.
9. Ond dyna ei holl ddibenion,
Oedd prynu a denu dynion dan ei adenydd,
Mewn adfyd penyd poenus,
Cadd ar y fargen gostus erwyn gystudd,
Heb glod: heb geniog yn ei god,
Er hyn fe fentre, ddrud bryniade,
Marchnatta tlyse, eneidie oedd ucha eu nod,
Pob un mwy gwerthfawr ydoedd,
Na'r bydoedd ganddo 'n bod,
Fe roes, ei gorph i'w ladd drwy loes,
A'i waed heb fesur, yn aberth wiwbur,
A'i ddeufraich dostur 'n ddi gysur a'i ddwy goes,
I'w hoelio rhwng y lladron, yn greulon ar y groes.
10. Ag ar ei awr farwolaeth,
Gorphennodd Iechydwriaeth pechaduriaid,
Ag etto mae gorchymyn,
Rhwym ar bob dyn i'w ddilyn dyna ei ddyled,
Ond te: Mae fyth oddiwrtho fe,
Ffordd i fyned, i uffern *Tophed*,
Yn hawdd ei cherdded, a'i lloned ymhob lle,
O faglau caeth y cythrel i nadel pawb i'r ne,

Pob un: a ddylai ei holi ei hun,
Beth yw ei galon, a'i annedd dirion.
I'r Arglwydd cyfion,
A'i Mammon fy ynddi ynglyn?
Mae un o'r ddau 'n feddiannydd,
Ordeinydd ar bob dyn.
11. Pan ddaeth yr Iefu 'n gnawdol,
I'r byd gweledig gwladol daiarol dyrus,
Ni chadd ond anghrediniaeth,
Anhrefn ag anllywodraeth, ag occraeth geccrus,
'S daw fe: Yn awr o entrych nê,
I barthau 'r galon, drwy ei yfpryd union,
A'i lân orchmynion yn gyfion efo agê,
Ceiff weled yno ddigon o elynion yn ei le,
Rhag fen: Dy lid fydd uwch ei phen,
Duw tro dy eglwys, yn filwrus,
I 'mdrechu 'n owchus, am goron wiwlwys wen,
A dyro wir faddeuant, er mwyniant i ni. *Amen.*



## CAROL ar y fedley fawr i'w ganu 'r calan.

### XXIX.

1. CANWN ganiad, gwir gyhoeddlad,
Dyma 'nodol ddydd enwaediad,
Crift Iefu ein cidwad cu,
Y pryd y cym'rodd arno o'i wirfodd,
Farc ŵyn *Ifrael* fel cynes-rodd,
Fe' i daliodd hi yn ei dy,
A phan enwaedwyd arno 'n ddyn,
'Roedd gofyn ar ei gyfer,
Am gadw 'r gyfraith tra bae byw,

Ag ymoſtwng yw, grymmuſter,
I r ammod fe 'mrwymodd o hyd cyflawnodd hon,
Nid oedd deddfau, na genau,
Ddanghoſai frychau ei fron.

2. Cae 'r ddefod gymwys, yma ei chynnwys,
Yn arwydd wiwglod,
Yn yr Eglwys, i dywys eiddo Duw,
'Roedd yr enwaediad, yn gyfrwymiad,
Ar y frawdoliaeth hyfryd alwad,
Iawn fwriad iddyn fyw,
Er nad oedd ond gwaith llaw dyn,
O hono ei hun mae 'n hynod,
Er hyn 'roedd Duw 'n ei ganiadhau,
I gadharnhau ei gyſammod,
I arferu wneid fellu, nes dyfod Ieſu ar dir,
Ar ol hynny, ei ddiddymu, fe ddarfu enwaedu 'n wir.

3. Ond yr Iuddewon oedd anfodlon,
I adel traddodiadau dynion gwyddorion meirwon mud
Er bod yr Arglwydd mewn perffeithrwydd,
Am wneud heb feth bob peth o newydd,
Ar gynnydd yno i gyd,
Yr oedd doethineb ynddo fe,
Yn uwch na donie dynion,
A'i wrthie 'n codi 'r meirw ar goedd,
Mo'r eglur oedd ei arwyddion,
'N amlygu fod gallu, Duw yn ei nerthu o'r ne,
Trwy 'r yſpryd, glan hyfryd, oedd fywyd ynddo efe.

4. Er hyn nid alle dynion odde,
Dim newydiad ordinhade,
'R hen dade wnaethe eu nyth,
Nhwy fynnent adel yn y demel,
Yr hen drefnuſrwydd oedd yn *Iſr'el*,
I'w chadw 'n babel byth,
Beth oedd yr addyſg newydd hon
I oſtwng dynion dani?
Ni fynnai 'r Iuddewon fod mo'r ddwl,
A gwyro eu meddwl iddi,

Mor anodd y cafodd Crist fel o'u hanfodd hwy,
Bregethu ag addysgu, ag ymgleddu pob rhyw glwy.
5. Ag ynte 'n dywad, wrth ei alwad,
Ei hun i dawlu eu hen adeilad, gwahaniad,
Oedd i hon: Pan ddaeth i brofi meibion *Levi*.
Gorwyliaeth *Moses* a'r Prophwydi,
A fail meini *Solomon*,
Yr holl gysgode, gole gynt,
Daeth cwmmwl drostynt yma,
Pan y newydiodd gwedd ei wawr,
Ar fynydd mawr *Moriah*,
Cawn hanes, fod *Moses*, ag *Elias* yno 'n glau,
A cwmmwl a'u cuddiodd, diddymmodd rym y ddau.
6. A rhain a giliodd ag a gollodd,
Ag yno 'r Iesu ei hun arosodd,
Fe safodd yn ei swydd,
Danghoswyd yma i'r pethau cynta,
Roi lle i'r ail urddas, rheol hardda,
'R *Messia* llowna llwydd,
'Roedd *Moses* ag *Elias* lân,
Yn dangos allan fellu,
Fod sylwedd y gogoniant gynt,
Oedd ynddynt i ddiflannu,
A lleferydd yr Arglwydd,
Yn arwydd mawr o'r nêf,
Hwn yw f' anwyl fab perffaith,
Gwrandewch ei araith ef.
7. Hwn ei hunan sy am y cyfan,
Mae 'n oll ag oll, i mewn ag allan yn darian,
Ag yn dŵr:
Nid yw enwaediad yno wedyn,
Na dienwaediad yn dwyn undyn,
Friwsionyn gwell yn siwr;
Creadur newydd deunydd da,
Yw swm y cyfa cofiwn,
O enau Apostol Iesu gwyn,

Yn

Yn olau hyn a welwn,
Wrth ystyr gwir natur, yr hardd greadur hwn,
Meddylie am ei radde, sy i'n penne yn ormod pwnn.
8. Ond fe ddaeth allan o bur anian,
Fel un gair hynod gwir ei hunan, nid bychan,
Yw ei bwys: Mae 'n air ysprydol gwirioneddol,
Wedi tyfu o'r bywyd dwyfol,
Urddasol a'i roi 'n ddwys,
Creadur newydd dedwydd doeth,
Yw 'r gair i'w goeth bregethu,
Fe ddeil yr efengyl ger ein bron,
Y faner hon i fynu,
Gwir gysur pechadur ydyw 'r creadur hwn,
Pob gwynfyd sail bywyd a greuwyd ynddo'n grwn.
9. Mae 'r hen greadur swrth a segur,
Gwedi ei ddallu a llygru ei natur,
A cholli ei bybyr bwyll,
Tra bo'm ni ynddo 'n ceisio gwrando,
Lleferydd Duw; ni chlyw fo mo'no,
Ni fedr deimlo ei dwyll,
Pan fo 'r gorchymmyn cariad cu,
Yn ein galw i garu ein gilydd,
Mae yn ei dderbyn am y tro,
Heb wneud o hono ddeunydd,
O's canu o's pregethu,
I 'n dysgu i fyw mewn dawn,
Er geiriau a rheolau,
I'r unrhyw feiau 'r awn.
10. Am fod y creadur o'i anrhydedd,
Wedi ddarostwng i oferedd,
Yn chwerwedd wrth ei chwant,
Nid yw ond ofer dim a ddweuder,
Pwy ddaw a thestyn o'r fath ddwyster,
I dorri plefer plant,
Does neb a ddaw a braw i'n bron,
Trwy foddion dynion dinerth,

Oni ddaw ſain ei adlais e',
'R priodfab eirie prydferth,
Gair Ieſu ond ei blannu,
Sy 'n tyfu fel hâd da,
Heb hwnnw 'n ein galw,
Nid oes un enw a wnâ.

11. Lle mae derbyniad, i'w ddiſgyniad,
Y gair hwn ydyw 'r gwir enwaediad,
Cyfraniad oddi frŷ,
Enwadiad dirgel, brenhin *Iſr'el*,
Y mae 'r nod yma yn ei demel,
Hyd heddyw a gafel gu,
Ond nid enwaediad yn y cnawd,
O ddim a wnawd gan ddynion,
Enwaediad yſpryd Duw ei hun,
Dirgelwch dyn y galon,
Profiadau 'r hen ſeintiau,
Yw 'r hynod bethau hyn,
A phob gene a'u harchwaethe,
Eu hadde un fodde a fynn.



## Carol haf, ar dôn elwir mwynen mai.

### XXV.

1. POB perchen gwir gydwybod,
Deffrowch o drymgwſg pechod,
Ymburwch bawb yn barod,
Cyn dyfod dyrnod dwys,
Byrr ydyw 'n pererindod,
Mae 'n horiau a'n dyddiau 'n darfod,
Diſgwyliwn am y diwrnod,
I'n goſod yn y gwys.

2. Fe

2. Fe archai 'r Arglwyd Iesu,
N ddi esgus i ni ddysgu,
Credu ag edifarn cyn llwyr ddibenu 'r byd,
Wrth weled coed y meusydd,
Yn giwsgo eu dillad newydd,
Mae hyn yn dangos arwydd,
O'r hafddydd i ni o hyd.
3. 'R arwyddion sydd i'w canfod,
Wrth node eu henwe hynod,
Rhai ddarfu 'r Iesu osod,
Cyn dyfod mab y dyn,
Mae 'n agos wrth y dryse,
O's credwn i'r 'sgrythyre,
Lle nododd Crist y marcie,
A'i hynod ene ei hun.
4. Mae 'r byd yn llawn o drahа,
Fel gynt yn nyddiau *Noah*,
Heb feddwl yn ei 'smwythdra,
Mo'r gaeth i'w dalfa Duw,
Cybydd-dod, twyll a ffalster,
Sydd yn rhagflaenu nifer,
A phawb am gyrredd llawer o bower yn eu byw.
5. Gwr bychan yw trugaredd,
Gŵr ynfyd yw gwirionedd,
Gwŷr dieithr yw tangnhefedd,
A rhinwedd p'le mae rhain,
Gwr marwol ydyw cariad,
Fo rynnodd gyda bagad,
A rhagrith sy yn ei ddillad,
Yn synio anfad sain.
6. Gwr diffrwyth yw cydwybod,
Mae 'n glôff o'i bedwar aelod,
A chwedi torri ei dafod, rhag dweudyd gormod gwir,
Er dewred yw cyfiawnder,
Cae ynte ei ladd gan drawster,
Oni bae Cyfraith Loegr, a'i gloyw ddager glir.

 7. Mae

7. Mae llawer o 'mryſone,
A ſwn am gau grefydde,
Ag aml opiniwne, a phleidie, ſectie ſydd,
Heb ddim ond un ffordd gymwys,
I ſyned i Baradwys,
Un bedydd ag un Eglwys,
Hoff weddus ag un ffydd.

8. Nid eiff na Phroteſtanied,
Na Rowndied na Chwacceried,
Papiſtied, Methodiſtied,
Er maint eu lludded llawn,
Na neb i'r ddinas nefol,
Wrth enw eu plaid neillduol,
Heb galon edifeiriol, fucheddol dduwiol ddawn.

9. Nyni 'r cyffredin bobol,
Ow! P'le mae 'r ffydd griſtnogol?
A ph'le mae 'r bywyd bywiol,
Yſprydol duwiol da?
Ymh le mae pyngciau 'n crefydd,
Ag addunedau ein bedydd?
Ymh'le mae 'n mawl i'r Arglwydd,
Am dywydd hirddydd hâ?

10. Mae 'r hâf yn dwyn cyff'lybieth,
O ddyddiau 'r efengyl berffeth,
A'r gauaf oer naturieth,
Yn † deip o'r gyfreth gaeth,
Pell ydoedd haul cyfiawnder,
Yn oeſoedd yr hen amſer,
Yr wan yn ei gryſder,
A'i wreſog dymer daeth.

11. O's mynnwn gael ei ganfod,
Ymgodwn fel Eryrod,
Yn lle bod fel y Tyrchod,
Yn turio 'r tyfod du,
A gorchgudd ar ein llygaid,

† *Cyffelybiaeth.*

Er

Er tywynnu 'r haul yn danbaid,
Ni wêl ein hanwyl enaid,
Mo 'i lewyrch cannaid cu.

12. Y ddamnedigeth ydi,
Fod yn y byd oleuni,
A ninne 'n caru 'r twllni,
Drygioni bryntni brad,
Oni farnem ni yn ynfydion,
Rai dariai 'n garcharorion,
Ar ol eu gwneud yn gyfion,
'Tifeddion rhyddion rhâd.

13. Gwell genym fwn y lingciau,
Cadwynau ein pechodau,
Na chlywed fwn pibellau,
Organau deddfau Duw,
Nyni gowfom fwy o wynfyd,
Mewn plefer o'er ynfyd,
Nag yn ein Beiblau hyfryd,
A gair y bywyd byw.

14. Ni a welwn bob creaduriaid,
Dwr, Tân ag Anifeiliaid,
Yfgrubliaid, Pyfg, Ymlufgaid,
A'r Hediaid yn eu rhyw,
Yn cadw eu terfynedig,
Orchymmyn bendigedig,
Heb un yn ofio cynig, rhoi dirmyg i air Duw.

15. Gorch'mynodd Duw i'r ddaiar,
Egino llyfiau 'n gynnar,
A hadu hadau howddgar,
A lliwgar yn eu lle,
A hon fydd fyth heb fethiant,
Yn datgan ei ogoniant,
Ei orchymmyn yn eu thyfiant,
Sydd foliant iddo fe.

16. Gorc'hmynodd Duw i ninneu,
Ei garu a'n holl galonneu,

Ag yn ddyfal gadw ei ddeddfeu,
A gochel beieu 'r byd,
Torafon ninne 'n bryfur,
Orchmynion Duw heb yftyr,
A'eth dyn yn waeth ei natur,
Nag un creadur mud.
17. Mae oed ein llywydd llawen,
Tri phum cant dau bum ugien,
A deuddeng mlwydd a deugien,
I'w gorphen etto gâf,
Molianwm ef bob ennyd,
Bodlonodd golli ei fywyd,
I brynu i ni lawenfyd,
A gwynfyd hyfryd hâf.

## CAROL Plygain ar ymadawiad y Brenhin.

### XXXI.

1. DOWCH drigolion union anwyl,
A meddwl efgud yma i ddifgwyl,
Dyma 'r fan a'r gorlan gymwys,
Côr wych rywioglan cyrchfa 'r eglwys,
Dyma 'r winllan wiwlan ole,
Lle mae 'r llafurwr llafar eirie,
A'r hauwr hâd ddwy fron ddi frâd,
Ar gwyfiad ei gwyfe,
Yn hau ei wir buryd, hwyr a bore,
Ar iawn adeg yn ddyrneidie,
Ag rhag ofn iddo egino ar gynydd,
Ymhyrdd y gelyn mo'r ddi g'wilydd,

Yma i hau, geirie gau,
Mall efrau, mal llofrudd,
I droi gorchwyliaeth gwir a chelwydd,
Mewn maes gole ymysg eu gilydd,

2. Cyhoeddwyd heddyw 'r 'fengyl ole,
Mewn clau ystyr yn ein clustie,
Hanes Crist ein hiechydwriaeth,
Yn ei degwch a'i anedigaeth,
Nid yw 'r efengyl râff o draethod,
I blant ofer ar flaen tafod,
Ond gallu Duw i gristion byw,
Yn gwbwl yw gwybod,
Goleuni diball glan gydwybod,
'N amlygu bryche dirgel bechod,
Nid ydyw cofio mab Duw cyfion,
A meddwl hygoel yma 'n ddigon,
Nid ŷm ni haws, er dringo ar draws,
Ar naws, yr hanesion,
Heb wrthie 'r gair bur werthfawr goron,
Yn troi yr enaid, at yr union.

3. Duw oedd y gair yn y dechreuad,
A Duw i'w ystyr etto 'n wastad,
Dirmygu 'r gair sydd weithred aflan,
Dirmygu yw hynny Dduw ei hunan,
Trwy 'r gair di fêth pob peth a wnaethpwyd,
Ag heb ei oleuni dim ni luniwyd,
Y gair ar goedd, fel utgorn floedd,
'Ynddo 'roedd bywyd,
Yn gnawd gwyn rhadlon hwn a genhedlwyd,
Mwya ei gynnydd yma ei ganwyd,
Gan fod y gweddus air tragwyddol,
Yn Dduw yn yspryd bywyd bywiol,
Goleuni 'r byd, yn drysor drud,
A'i wrthie 'n brydferthol,
Yn wir ffrwythlawn air effeithiol,
Mawr i ni wrthod ei rym nerthol.

2. Bu

4. Bu llawer iawn o bethe rhyfedd,
Yn y byd o'i ddechre i'w ddiwedd,
Ond daroſtyngiad Criſt o'i freintie,
Oedd ryfedd uwch pob rhyfeddode,
Arglwydd glew-ddoeth yr Arglwyddi,
Arglwydd rhadol pob mawrhydi,
Arglwydd ne, yn llond pob lle,
A'i wrthie 'n rheoli,
Yn wan, yn ddinerth, newydd eni,
A'r ſeren wiwdeg yn ei nodi,
Brenin ethol Brenhiniaethe,
Brenin *Iſrael* a'r cenhedlaethe,
Brenin Caer Salem glaer,
Ag aer, o'r rhyw gore,
Brenin *Sion* wiwlon ole,
Cu waed uchel, mewn cadache.

5. Wrth hyn ond cymwys iawn fe'i henwyd,
Mewn praw hyffordd gan y Prophwyd,
Hwn a'i galwodd yn rhyfeddol,
Gweddus enw, a oedd gyſonol,
Rhyfeddol gwrol oedd ei gariad,
Frenin doeth yn ei ymdeithiad,
Nid oedd un Gris, i'r Ieſu yn îs,
I'w ddewis ei ddwad,
Nag yn ddioddefus fel y ddafad,
I ddrws du ange, o ddaroſtyngiad,
Diodde dirmyg, dig a chabledd,
Diodde i ddynion, boeri i'w ddannedd,
Diodde brad, a phob ſarhaad, nes dwad o'r diwedd,
A du groeſhoelion Duw 'r gwir ſylwedd,
Rhwng dau leidyr yn dylodedd.

6. Hyn a ddioddefodd mewn amynedd,
I gadw cyfraith y gwirionedd,
Am nad oedd un o fewn yr hollfyd,
A'i cadwai a chalon ddi frycheulyd.

Er bod yr Iuddewon wrth ddefodau,
Yn mynd i'w byrth a'u drud aberthau,
Heb arnyn ball, offrymu 'n gall,
Oll ar eu hallorau,
Yn ol eu synwyr a'u helusenau,
A'u hardd odidog dradodiadau,
Ni fedrent ddirnad gwaith yr Arglwydd,
Yn adeiladu Temel newydd,
Ag yn rhoi nâg, i'r demel wâg,
Oedd gaerog fagwyrydd,
A wnaethai *Solomon* a Dafydd,
Wrth fawr ddonie o werthfawr ddeunydd.
7. Yr achos hwn o'u hanwybodaeth,
Oedd twllwch ysbryd angrhediniaeth,
Er cael goleuni o flaen eu llyged,
Nid allai dwllwch mo'u amgyffred,
Cyfrifen' Iesu yn Frenin isel,
I deyrnasu ar feibion *Isr'el*,
A nhwythe o hyd, yn beniaeth byd,
Bradychwyr bryd uchel,
Gŵr truan ydoedd troen' i'w adel,
Teuru a bygwth, taro eu bugel,
Er bod eu crefydd mewn disgleirdeb,
Ni adwaenai dynion drwy ddoethineb,
Mewn lludw a llŵch, mo ddyfnder trŵch,
Dirgelwch duwioldeb,
Hwn o'u gwydd yno a guddiai ei wyneb,
A Duw a'u llenwodd a ddallineb.
8. Ag fellu fyth mae natur dynion,
I fod yn ddethe fydol ddoethion,
Heb ystyr fawr fod holl ddoethineb,
Y byd ffel anian yn ffolineb,
Fel hyn mae llawer yn palfalu,
A'u rhwyd eu hunain yn eu maglu,
Wrth geisio 'r gwir lwybr clir,
A gynhwysir gan Iesu,

Ag

Ag heb fodd unwaith i'w feddianu,
Fyth na'i ddifgwyl heb ei ddyfgu,
Y llwybr hyffordd pawb a'i hoffo,
Mae'n dafg reidiol dyfgu i rodio,
Ag oni wnawn, hynny yn iawn,
Mi wn na chawn, mo'no,
Nid oes ond calon wedi dryllio,
Wag ag ifel yn ei geifio.

9. Crift yw 'r ffordd a Chrift yw'r bywyd,
A'r gwirionedd hafedd hefyd,
Crift yw fylwedd y cyfgodau,
A diwedd deddf yr ordinhadau,
Ag nid oes gan y cywir griftion,
Ddim ond Crift a hynny 'n ddigon,
Mae gan y rhith, griftion brith,
Rifedi 'r gwlith, gwlybion,
O gyfiawndere gole i'w galon,
A rheini 'n feirw ag yn rhy fyrrion;
Na fyddwn ddynion rhy ymddenol,
Rhag brad mawr mae 'n bryd ymorol,
A holi 'n drift, a ydyw Crift,
Fel tryfor cift, rafol,
A'i air drwy gynydd yn drigianol,
Efo nyni 'n cyd fyw 'n unol.

10. Ag onid yw fe 'n byw 'n ein mynwes,
Ofer grefydd ofer broffes,
Mae 'r galon hebddo 'n berth o ddryfwch,
Llawn o niwl yn llwyn anialwch,
Fel dinas *Bethlem* gynt lle ei ganed,
Y lletty oedd yno 'n llawn dieithred,
Nad oedd mo'r lle, yn y dre,
I frenin ne, fyned,
Ond i 'fgubordŷ a'r gwelŷ 'n galed,
I gyd dario a'r mud gre'duried,
Ag etto 'r galon gyfeiliornus,
Fyth a ddyfgodd y fath efgus,

Pan

Pan geisio fe, ynddi le,
Oer syniad resynus,
Mae yno hen letteuwyr eusus,
I'w fario allan ofer wllŷs.
11. Ag er i'r galon ei wrthgilio,
Fe geiff e salach i breswylio,
Ymhorth y deuall a'r synhwyrau,
Lle mae swm yr holl resymau,
Hwn sydd fel beudy i'w yrru i orwedd,
I blith bwystfilod anifeiledd,
Mewn sŵn a si, heb barch na bri,
Oer wegi gorwagedd,
A Christ ar dafod ystyr dofedd,
A'r dyn yn farw dan ei oferedd,
Dyna gyff'lybiaeth o'r rhith gristion,
Yn cadw Crist o'i frest yn estron,
Na atto Duw, i ni fellu fyw,
Ond annoeth yw dynion,
Heb Grist i'w garu a'i groes a'i goron,
Yn wnna cowled yn ein calon.
12. Pob ysbryd a feddiano ddynion,
Rhaid iddo gael holl wraidd y galon.
Ni thale i'r cythraul fod o hirbell,
Gyda'g Adda ag Efa 'n gyfell,
Nag e fo fynne fod yn Arglwydd,
Ar y galon o gwrr bwygilydd,
A'r Arglwydd ne, nid ydyw fe,
I'w alw 'n rheolydd,
Nes cael yr holl serchiadau 'n ufudd,
A'u dwyn i'w gariad dan ei gerydd,
Rhown atto ein gweddi heb oeri 'n buredd,
Am agor i ni mewn gwirionedd,
Diau y daw, a'i lwyddol law,
Dda hylaw, Dduw haeledd,
Duw yw fe am gymmod nid yn gommedd,
Mo'r neb a guro am ei drugaredd.

CAROL



# Carol Plygain ar Greeks in Troy.

## XXXII.

1. WRTH ganu i Dduw gogoned,
Angenrhaid i ni ystyried,
Ei fawredd ag ofered dwned dyn,
Mae 'n chwiliwr y calonne,
Fe ŵyr ein holl feddylie,
Cyn y do'n i'r bŷd o'n gene bod ag un,
Pa beth yw dŷn i'w gofio,
Neu i wneuthur cyfri o hono,
Gan Dduw ei hun,
Pan gaffo 'n ole weled,
Yn nrych y gair agored,
Aflaned, yw ei lun,
Rhagorol o drugaredd,
A'r cariad sy'n ein cyrredd,
Rhyfedd yw,
Fod ceidwad wedi eni,
I'n gwared o'n trueni,
Mawr yw daioni Duw.
2. Er cadw coffadwriaeth,
Yn dêg o'i anedigaeth,
Mewn cwynion anian syniaeth canu sydd
A Duw a ŵyr mo'r lleied,
Yr ydym ni 'n amgyffred,
Y diben yr ordeinied i ni 'r dŷdd,
Mae 'r 'sgrythyr o'r dechreuad,
Yn sôn am ei ddyfodiad,
A'i dyniad yma ar daith,

A'r

A'r gwir Brophwydi o'r cynfyd,
Rhag welsant e' yn yr yspryd,
O hyd i'w febyd faith,
Drwy ffŷdd ag 'wllys calon,
Derbynient yr addewydion eirchion Iâch,
Gan gredu 'r gair gwirionedd,
Y genid e' yn Etifedd i'r bŷd,
Mewn fylwedd bâch.
3. Ag fel y disgwylia sant,
O gyssur mab a gowsant,
Hwy welsant ei ogoniant clausant clir,
Ag etto gallwn ddirnad,
Fod dau fath o ddisgwyliad,
Am y *Messiah* i ddwad hyn sydd wir,
'Roedd awydd yr Iuddewon,
I gredu 'r addewydion, am frenin cyfion cu,
Ond wrth eu cnawdol syniaeth,
Di frenien e' o'i freahiniaeth,
Gan anghrediniaeth du,
Er bod y rhain wyr hynod,
Yn blant y gwir gysammod undod iawn,
Hâd *Abraham* o'u mebyd,
Had Dafydd o hyd hefyd,
A diwyd yn eu dawn.
4. Er iddynt gael eu cyfri,
O genedl y Prophwydi,
Yn eglwys Dduw i'w henwi amser hir,
Nid oeddynt o'r un bywyd,
Na than arweiniad yspryd,
Y Brophwydoliaeth hyfryd helaeth wir,
Wrth hyn nis gallent brofi,
Mo'u Crist â barn heb wyrni,
Mewn dryfni draw,
Am nad yw dynol syniad, yn cyrred,
Mo Dduw 'r cariad, i'w ddirnad fyth ni ddaw,
Fel hyn mae ymrysone, am Grist,

A chroes gwestiwne dadle dwys,
O ddiffyg barn ysprydol, i fyned o'r tufewnol;
I'r gair sy a bywiol bwys.
5. Y gair oedd o'r dechreuad,
O ene Duw yn dwad,
I roddi gwir ddatcuddiad i'r byd caeth,
A'r cristion a'i derbynio,
Mae 'n llusern i'w oleuo,
Ag ymborth iddo 'n llifo 'n fel a llaeth,
Nid ydyw 'r enaid marwedd,
Yn medru cael gwirionedd y sylwedd ynddo sy,
Am nad yw 'r gair yn gwawrio,
Yn anadl einioes ynddo, ag yn tario 'n ŵr y tŷ,
Pa beth yw 'r gair medd rhywun?
Ond Crist eneiniog blentyn, y forwyn fair,
A wnaed yn gnawd naturiol,
Nid oes un Crist achubol rhagorol ond y gair.
6. Nid ym yn dirnad mo'no i fedru chwilio am dano
Ymmhle mae fe 'n ymguddio o'n gwydd ni gyd,
O's arno daliwn filw, nid yma chwaith nid acw,
Nid yn y fŵn a'r berw sy yn y bŷd,
Mae 'r gair yn agos atton,
Yn nirgel ddyn y galon llais tirion wllys da,
Deffrowch a chlywch eich galw,
I fynu o blith y meirw, fi heddyw'ch gwir fywhâ,
Trowch eich wynebau attâ,
Holl gyrrau 'r byd yn gyfa, achuba chwi,
Dowch lwythog a blinedig,
Dowch gloffion a briwedig, da feddyg ydwy fi.
7. A gaffo glust i wrando,
Y llais sy 'n galw ynddo,
A ettyb fe dry atto i deimlo ei dwyll,
Ond te nid yw pechadur,
Yn ystyr fawr o'i ddolur,
Er clywed yr ysgrythyr bybyr bwyll,
Mae 'n cyfri 'r llais allanol,

Yn alwad cyffredinol i bob dŷn,
Pa ham medd y cyſrwys-gall,
Y gwyrai mwy nag arall;
Nid wyf mo'r angall un,
Er galw y rhai trafferthus,
I'r ſwpper mawr cynfforddus troen i ffwrdd,
Yn eſgus tir ag ychen,
Ae'r cyſa 'n wyſg eu cefen,
Ni ſynnen ddim o'i ſwrdd.
8. Y gair ſydd yr un ffunud,
I'n gwahodd ninne heſyd,
Ag ergyd ei ſain diwyd nôs a dŷdd;
Mae ynom weithie deimlad,
Yn dewis rhoi gwrandawiad,
I fowredd y lleſariad galwad gudd,
Mae 'n galw 'r cnawd oddiallan,
Ceneddfe 'r enaid anian, y glân a'r aflan rym,
A'r cnawd ſy a'i eſgus parod,
Priodais wraig drwy ammod, nid allai ddyfod ddim,
Mae hwn wedi briodi,
A'i hunan chwant a'i ffanſi ynghwmni rhain,
Er cael ei alw i'r ſwpper,
Nid yw fe'n cymryd amſer, i wrando 'r ſyber ſain.
9. Oddiyno y try 'r gwahoddydd,
Gan ſeinio 'r un lleferydd,
I'r ſtrydoedd a'r heolydd yn ŵr hael,
I alw ar yr Efryddion, Tlodion, Cloffion, Deillion,
Trigolion gwlad y galon gweinion gwael;
Sef y gydwybod euog, a'r yſpryd gwag newynog,
A'r ſerch anwydog noeth,
Pan glywo rhain leferydd, y gair
Yn eu magwyrydd, tro'n at y dyſgydd doeth,
Dwy genedl o ddwy natur,
Sy ymmynwes pob pechadur eglur yw,
Ag un o'r rhai'n a gymrir,

A'r llall fel Esau a lysir,
Adewir dan farn Duw.
10. A'r ddwy genhedlaeth yma,
Sydd ynom ni 'n Rhyfela,
Yw heppil y ddau Adda 'r cynta a'r ail,
Sef cnawd ag yspryd beunydd,
Sydd yn gwrthnebu eu gilŷdd,
A rhai'n mewn urddas hylwydd ar ddwy sail,
Y cynta 'r dŷn anianol, sy o'r ddaiar yn ddaiarol,
A'r ail ysprydol ŷw,
Un ydyw 'r hunan enw, o sylwedd dŷn a'i sulw,
A'r llall yw delw Duw,
Am bechod Adda ein cyndad,
Rhyfeddol yw 'r fath syniad syth y sy,
A'r dŷn a'i dwaeno ei hunan,
A edwyn Adda rwan, a'i fuchedd aflan ddu.
11. O's mynni 'nabod Adda,
Mae 'n agos iawn mynega,
Dy di a minne sy yma, dyna 'r dŷn,
Lle dengys delw pechod,
Mae noethder Adda i'w ganfod,
A'i nabod yn ei hynod enw ei hun,
Nid yn ei gorph personol,
Ond yn ei gorph ysprydol,
Hanfodol ydyw efe,
'R hên ddŷn a'i wŷn aflonydd,
Rhaid cael yn awr ddŷn newydd,
Iawn lywydd yn ei le,
Mae 'n rhaid i *Esau* golli,
A' *Jacob* gael ei gyfri yn ei fraint,
Ag felly mae 'r ddau Adda,
Yr ail a ettifedda le 'r cynta, orseddfa saint.
12. Nid ydyw 'n trŵst a'n trydar,
Yn canu carol seingar, ond swyno,
I'r neidr fyddar ehud farn,

Rhown faner Crist i fynu oddiallan i'w
Dderchafu, ag oddi mewn yn mynnu ei fathru 'n farn
Mewn geiriau ceiff y goron,
A'i alw 'n frenhin *Seion* union yn y ne',
A'r fuchedd oeredd ddiras,
Yn dewis cael *Barabbas* wael urddas yn ei le,
Fel hyn mae 'r dŷn oddiallan,
Yn gristion ynddo ei hunan gwiwlan gwŷch,
A dirgel ddŷn y galon,
A geir yn Iuddew creulon,
Pan dreion e' yn y drŷch.
13. Ond at yr *Iuddew* yma,
Yr anfonwyd y *Messiah*,
I'w gyrchu o uffern isa i noddfa nêf,
A'r *Iuddew* yn anwyllysgar,
I gymryd Crist yn feistar,
Hyd heddyw 'r eiddo *Ceasar* a ddewis ef,
Mae ysbryd *Ceasar* etto,
Yn byw 'n frenhinol heno a golwg arno i gael,
Ag ynddo fyth dewisir y cam o flaen y cywir,
A welir yn rhy wael,
Fel hyn mae shiloh 'r drindod,
Yn cael ei werthu a'i wrthod trallod drud,
Ymmhlith proffeswyr crefydd,
Opiniwn hen a newydd sydd beunydd yn y bŷd.
14. Er hyn mae 'r gwan greadur,
Yn addef Crist heb rwystyr,
Yn ol goleuni 'r synwyr ynddo sy,
Ond nid y dŷn gweledig,
Creaduraidd gnawd metniedig,
Yw 'r Ddafad sy'n golledig yn y llu,
Yr ysbryd sy'n estronedd,
O'r anweledig sylwedd yn gorwedd yn y gŵg,
Hwn ydyw 'r mâb afradlon,
Sydd yn difuddio ei foddion,
Wrth drin cymdeithion drŵg,

A'r mâb sy'n gwarchad gartre,
Yn dilyn dyle swydde deddfe ei dâd,
Yw 'r dŷn o'r llun allanol,
Y bywyd rhydd naturiol, ystyriol wan ystâd.
15. Ond nid y mâb sydd gartre,
Sy 'n cael yr eur-wisg ore,
Y fodrwy a'r arlwy seigie moethe mêl,
I'r adyn fab crwydredig,
Parodtoi 'r y llo pasgedig,
A'r miwsig yn ei ddirmyg mawr pan ddêl,
Er hyn mae 'r hyna 'n grwgnach,
I'w frawd oedd anufuddach gael molach mwy,
Yr hunan anfodlonrwydd,
Sy 'n tybied yma i'r Arglwydd,
Gam synio o'u herwydd hwy,
Pwy edwyn yr afradlon?
Pwy edwyn gile ei galon golwg wael?
Pwy gadd ei Argyhoeddi,
O'i bechod a'i drueni i fod wedi,
Ei golli a'i gael?



## Carol Plygain ar gwel yr Adeilad.

### XXXII.

1. GEnhèdlaeth i genhedlaeth,
Sy 'n cadw coffadwriaeth o'r oen dirwest,
Angylion a Cherubied,
Yn canu 'r dŷdd y ganed e' ar duedd gonest,
Dŷdd yw: yr ymddanghosodd Duw,
I'r bŷd gweledig, yn ddatcuddiedig,
O groth morwynig, yn ddŷn creuedig ryw,
Yn faban yn ei febyd yn ysbryd bywyd byw,

Llu 'r nêf: A roesant lafar lêf,
Fod presenoldeb Duw yn y preseb,
Wrth weld disgleirdeb ei berffaith wyneb ef,
I ganu i frenin *Salem*,
'Nhwy droen i *Fethlem* drêf,
2. Cyd ganodd sêr y bore,
Cyn geni hwn flynydde flaenion addysg,
Sef y Prophwydi duwiol,
Pa rai oedd yn ei gamol a dawn ddigymysg,
Nid oes: Ni bu o oes i oes,
Yr un creadur daiarol natur,
Yn canu 'n gywyr, mewn mesur mwyna moes,
Ond yspryd y rhai cyfion, yn ffrwythlon a ddeffroes,
Hwn sydd: Yn deffro i deimlo 'r dŷdd,
Er budd a bywyd, 'r ŷm ninne 'n dweudyd,
Mai dyma 'r ennyd y rhoddwyd ni oll yn rhŷdd,
Ond pwy sy 'n rhŷdd gyfreithlon, yn stât y galon gudd?
3. Mae llawer mâth o ryddid,
Am dani pe 'mofynid yma 'n fanwl,
Mae dŷn a rhyddid ganddo,
I ddweud a gwneud a fynno, i foddio ei feddwl,
Yn rhŷdd: A'i fywyd yn ddi fudd,
Yn mynd lle paro trachwant iddo,
A rhyddid honno 'n ei dwyso nôs a dydd,
O's gwneir ni 'n rhŷdd gan Iesu,
Nid bywyd felly fydd,
Pob caeth: i dynnu rheini daeth,
O dŷ 'r caethiwed, y dŷn Archolled,
Ymmhlith y lleiddied, rhŷdd nodded iddo wnaeth,
Yn rhwym i dalu dyled yr ened hwnnw 'r aeth.
4. Dihareb glir a glywais,
Mai pob cyffelyb ymgais ag nid amgen,
Fel hyn daeth Crist i geisio,
Rhai oedd gyffelyb iddo tu pha le bydden,
Tlawd: Oedd e yn nyddie ei gnawd,
A dirmyg dynion ag i'r tlodion,

 Drylliedig

Drylliedig galon efryddion 'roedd e'n frawd,
Y rhai oedd ar y ddaiar yn watwar ag yn wawd,
'Roedd e': wrth rodio gwlad a thre,
Yn ŵr gofidus a dolurus,
Profedigaethus, trallodus ymmhob lle,
Ag felly 'roedd ei ddeiliaid diniweid dan y ne.

5. Rhoes air i attal rhyfyg,
I'r Iâch ni raid y Méddyg i roi dim iddo,
Nid oes air mwy cymhesur,
Mo'r gymwys at ein natur, ninne etto,
Ni bu: A dweud y gwir yn hŷ,
Er amser Adda galonne cyfa,
Mo'r ddi ana nag sy nghynnlleidfa 'n llu,
Pwy sydd yn gla ei gydwybod gan bechod,
Dyrnod du,
Ger bron: rhai sydd yn yr oes hon,
Nid yw 'n anghenraid, wrth Feddyg enaid,
Does neb yn ddeilliaid ond pawb a llygaid llon,
Ni eilw un dŷn am dano,
Nes caffo friwo ei fron.

6. Mae gair yn dweud fel 'n yma,
Fod llygaid a mawr ana i amryw ened,
Llygaid sy yn eu penne,
Ag heb ganhwylle gole i allu gweled,
Mawr yw: Dallineb dynol ryw,
A haul cyfiawnder, yn ei disgleirder,
Yn twnnu 'n dyner a'i bower i rai byw,
Ag nid i eneidie meirw sy heb wisgo delw Duw,
O hyd: Crist yw goleuni 'r byd,
Mae etto 'n galw i ddeffro ei ddelw,
I'w chodi a'i chadw o blith y meirw mud,
I gael goleuni nefol yn ei briodol brŷd.

7. Eneidie anyftyriol,
Nid hanes byrr amserol yw hyn o siarad,
Mae Crist o ddifri ddwyfron,

Yn

Yn ceisio corph a'chalon, at ffordd dychweliad,
Duw wyr: Faint yw'n colledion llwyr,
Wrth garu molach gan fall gyfeilliach,
Ag oedi 'mhellach i'w heiriach hi yn rhy hŵyr,
Digofaint sy uwch ein penne, fel fflame'n cynne cwyr,
Yn brudd: tra bo yn ein dwylo 'r dydd,
Gochelwn rydid rhwysg Ieuengctid,
Rhag mynd dan ergid y farn a'r llid a fydd,
I fynwes Crist gorchmynwyd i'n ffoi mewn bywyd (ffydd.
8. Gair gwir sy'n glir i w ganfod,
Ffoi rhag y llid sy ar ddyfod mae 'n siwr o ddisa,
A ni fel *Sodom* ofer yn clywed hwn fel cellwer,
Drwy ryfyg hylla,
Mae sôn: Am hyn ymmhregeth Ioan,
I droi rhai diras o'i gymdeithas,
Rhaid ffrwythe Addas i'r deyrnas cyn y dôn,
Pob pren yn dwyn ffrwyth arall rhoe 'r fwyall ar ei fôn
Nid cyn: Dyfodiad Crist 'roedd hyn,
Ond yn ei amser 'roedd llid a digter,
At anghyfiawnder bu 'n arfer toster tynn, (chwynn
I lwyr lanhau ei lawr dyrnu gwnae chwthu chwalu 'r
9, Gochelwn yma 'n wamal,
Fyw 'n ddiofal drwy ymgynnal mewn drŵg anian,
Nid ydyw Iesu i'w osod fel cysgod mur ei bechod,
Mawr na bychan,
Hawdd iawn dweud cyssur llythyr llawn,
Trugaredd ened heb ffŷdd na gweithred,
Crist i ni aned a'n gwared ganddo gawn, ddawn,
Cyhoeddi hyn yn hyddysg heb ddim o'i ddysg na'i
Twyll yw: A rheol ddrŵg ei rhyw,
'R fath ymadroddion o benne 'n fydion,
Gwirionedd union rhaid bod yn gristion byw,
Yn stât y wisg briodas cyn mynd i deyrnas Duw.
10. Mae 'n bleser genym ganu,
Gwers desach i Grist Iesu a mynnu mo'no,
A Christ mo'r ddieithr heddyw.

Ag ydyw 'r Twrc mawr accw ſy'nhir Morocco,
Ar hynt: down bellach at h n bwynt,
Yr eglwys ffyddlon a'r prîf griſt'nogion,
Nid Criſt fel eſtron oedd gan y dynion gynt,
Yn yſgwyd megis corſen ne gawnen yn y gwŷnt,
Criſt clau: Yn ymrwymo dan yr Iau,
Yn un a'u bywyd, nhwy 'dwaenent hefyd,
Ddelw eu 'nwylyd, yn yſpryd i'w bywhau,
Yn un cyd gorph agwnnw, nid oeddynt enw dau.
11. Trwy râs mae môdd i ninne,
Fod yr un fath a nhwythe a Duw i'n hethol,
Mae 'r gair yn ddrŵs agored,
Yn ein galw i fyw 'n ei nodded yn feunyddiol,
Heb wâd: Rhaid ſtyrio 'r ddwy yſtâd,
Mae ſtad ddaiarol, a ſtâd yſprydol,
A'r ddwy 'n wahanol, a Duw roes reol râd,
O'r naill i'r llall i'n codi, hyn ydi ei ordinhâd,
O's am: Wir grefydd *Abraham*,
Tâd y ffyddloniẹd yr ŷm yn ſynied,
Ol traed y defed nid ellir cerdded cam,
Nes mynd o'r ſtat ddaiarol i'r nefol yn ddi nam.
12. Diſgynſa 'r hen ddyn cynta,
Yw 'r ſtat ddaiarol yma drwy ucha dichell,
Sy o'r ddaiar yn ddaiarol,
Ag fellu doe ei holl bobol i'w dywyll babell,
A'r ail: Sydd ſtat ar ſiccrach ſail,
Preſwylfa Shiloh, hiliogaeth Iago,
A'r nefol Athro ſy 'n gwir fugeilio ei corlan gail,
Gwinwdden Duw gynyddodd ni ddylodd un o'i ddail,
Pob un: Sy i ddioſg yr hen ddyn,
A gwyſgo 'r newydd nid ffurf nag arwydd,
Nid ydyw crefydd, waith celfydd lliw na llun,
Na gwiſg o unrhyw gyſgod ond hanſod Criſt ei hun.
13. Mae 'r ſgrythyr i'w chyflawni,
A Duw yn addo i ni newydd anian, (wadu ei hunan
A gaffo ei gyflwr fellu ei waith o wedi hynny yw i
Fo

Fo wêl: o'i galon yn ddi gêl,
Gyflawni a gwneuthur yr holl ysgrythyr,
Gan Iesu i'w gysur mewn synwyr ag mewn sêl,
Mae'n profi 'r gair yn fluniaeth 'r un mòdd a llaeth a (mêl
Cyn hyn: Profasai 'r deddfau n dynn,
Fel dyfroedd *Marrah*, archwaethiad chwerwa,
Yn faethe llyma a phenna gwayw ffynn,
Yn curo megis cowri ei geisio i olchi 'n wynn.
14. Fel golchi 'r llewpart brycha,
Neu grwyn y dynion dua ar donnen daiar,
Fel plygu calon *Pharo*,
Neu swyno ar dir i foddio 'r neidr fyddar,
Yw rhoi: Gorchymyn i ni droi,
O'r gadwynog, ystât orweiddiog,
Lle mae 'r farph dorchog gelwyddog wedi 'n cloi,
O'r braidd oddiyno dichon,
Y cyfion ffyddlon ffoi,
Ffoi ble: I Grist drwy weddi gre,
Mae porth cul bychan i ddyn fynd allân,
O hono ei hunan i mewn i'w anian e'
Does un ffordd arall gywrain yn arwain neb i'r ne,
15. Rhai gwyna mai go anodd,
A thywyll yw 'r ymadrodd,
Er medru ei ddweudyd,
Pwy oddef y fath addysg,
Pam na roid geirie hyddysg i rai gyrhaeddyd?
Pam y gwnaed: O gyredd cig a gwaed?
Ddyfndere 'r fgrythyr fel môr o wydyr?
A chyfyng lwybyr pechadur byw ni chaed,
A redai ei yrfa 'n union rhy drymion oedd ei draed,
Er hyn: Mae 'r gŵr fy ar y march gwynn,
Yn troedio 'r llwybrau 'r môr a'r tonnau,
A'r llyfr agorai oedd tan y selau tynn,
Mae ganddo agoriadau ar bob mannau i bawb a'u mynn.
16. Caniade 'r oes a basiodd,
Sy'n coffa mewn ymadrodd am enw ei oedran,

Nid

Nid ydyw hyn ond anwes,
Fe wyr pob dyn iawn hanes hynny ei hunan,
Mae 'i oed: hyd furie a chaere a choed,
Sy er pan ei ganed, yn ole ei weled,
Ond pwy gan ddoethed, a fedro rhifed rhoed,
Fesuriad ar flynydde sy heb ddechre ei radde 'rioed,
Ar gân: Rhown foliant fawr a mân,
I'r tad a'n creue i'r mab a'n pryne,
A'r yspryd gole, o wir galonne glân,
Tri pherson mewn un hanfod byw, hynod heb wahân.



## Carol i gymdeithas Clwb, ar Grimsom Velvet, a ddatganed yn eglwys Llangollen, ddydd Calan.

### XXXIV.

1. NA safwn yma 'n segur,
Ond fel gwrandawyr diwyd,
Yn ceisio budd ag elw, gwir ddelw 'r gair yn ddilid,
Mawr orchwyl anwyl ynnill,
Drwy bebyll Duw a'i bobol,
Oedd gwrando 'r gair a'i wneuthur,
Gan frodyr swydd hyfrydol,
Gofynir goruchwylwyr, am gyfri o ffrwyth eu llafur,
A'u ddwyn yn gywyr i Dduw gwŷnn,
A phob gwas a dderbynio un dalent yn ei dwylo,
Rhon gyfri am honno, gwir yw hyn,
Mae 'n amser i ni ystyried,
Be 'r ydym yn ei glywed,
Pob un edryched yma 'n drist,
Wrth wrando efengyl Iesu,

Rhaid

Rhaid un a'i 'r galon gledu,
Neu gael ei enwaedu i gredu i Grist.
2. Dirymmodd *Paul* enwaediad,
Yn ol traddodiad dynion,
Ag etto cadwai ei sylwedd,
Dirgeledd ar y galon,
Enwaediad cnawd, oedd weithred,
Adduned i ddaioni,
Yn rhwymo i gadw 'r gyfraith,
Oedd helaith yn ei holi,
A'r gwir griftnogion hefyd,
Mae nod enwaediad yspryd,
Yn rhwymyn bywyd am bob un,
I fynd wrth farn cyfiawnder,
Dan yr efengyl dyner,
A byw 'n ei phower tra bo ffun,
Mae hwn yn rhwymo ei heddwch,
Mewn undeb a brawdgarwch,
Er da ddedwddwch harddwch hir,
Cyfrifir di enwaediad,
(Dan berffaith gyfraith cariad,)
Yn enwaediad i ni 'n wir.
3. Ystyriwn beth sydd ore,
Mewn geirie i ni yma gyrredd,
'Does dim sy well i'w glywed,
I'r ened na gwirionedd,
Beth yw gwirionedd union?
Pob bron a chalon chwilied,
Fe fethodd rhai gwyr doethion,
Oedd greiffion mo u amgyffred,
Fe ffaeliodd *Pontius Pilad*,
Ddewr Ustus wyddor wastad,
Gael iawn gyrhaeddiad y gair hwn,
Er golchi ddwylo 'n wnion,
Rhag cul euogrwydd calon,

O

O fod gwaed gwirion arno'n bwnn,
Pe'i gwybuasfo 'n gwbwl,
Beth oedd gwirionedd manwl,
Fo welsai ei feddwl ffals ar fai,
Ei fod o'n troi 'n ddau ddyblyg,
Condemnio Crist i ddirmyg,
I gadw rhyfyg gyda rhai.
4. I Nicodemus eilweth,
Oedd dan ddysgeidieth gadarn,
Gwirionedd pan amlygwyd,
Ae'n ynfyd mewn union farn,
A Saul wrth draed Gamaliel,
A'i fanwl fêl a'i fylwedd,
Ni dwaenai wrth lais y gyfraith,
Gywreiniaith y gwirionedd,
Ni welai mo'no 'n berffaith,
'Nes colli ei olwg unwaith,
A'i gael o eilwaith yn ei ol,
Goleuni Duw yn unig,
A d'wllai ei ddawn ddysgedig,
Fe ei troes hi 'n rhyfyg, ffyrnig ffol,
Ond colli 'r olwg gynta,
Doethineb yr hên Adda,
Sy'n llawn cyfrwystra, ffraetha ffrwyth
Cawn olwg fwy cyfarwydd,
Diniwaid y dyn newydd,
A wnaed yn llywydd i bob llwyth.
5. Gorchmynwyd i ni hefyd,
Am ddweudyd y gwirionedd,
Bob un wrth ei gymydog,
Yn bwyllog mewn amynedd,
Oblegyd mae aelode,
Mewn gole ym i'n gilydd,
I gyd fwriadu rhodio,
Llafurio 'n un lleferydd,

Cymerwn air Duw 'n gyngor,
A rhown i hwn ei ragor,
Nid oes egwyddor na dysg well,
Hwn yma yw 'n hwyl a'n hammod,
A'n hustus ben ein hystod,
Mae ganddo awdurdod benod bell,
Mae addysg i'w deunyddio,
A Theyrnas nefoedd ynddo,
Pan ddown i'w chwilio, i ddyn i'w chael,
Trwy guro mae trugaredd,
Ond ceisio mewn gwirionedd,
Bydd yn orfoledd i ni 'r fael.
6. Yr achos mwya i'w ddweudyd,
Yn hyn o ennyd i ni,
I'w dangos cyflwr enaid,
Ond peth angenrhaid ydi,
A hyn yw cyflwr hwnnw,
Mae 'n farw mewn oferedd,
Lle cafodd ei ddarostwng,
Yn deilwng o bob dialedd,
Y man lle cwympodd Adda,
Mewn drygfyd y mae ei drigfa,
Sy fall sefyllfa ddalfa ddig,
Lle syrthio 'r pren yn gyfan,
Yr erys yn ei unfan,
A'r enaid truan yno trig,
Yn ol y cnawd mae 'n rhodio,
Am bethau 'r cnawd mae 'n synio,
Erioed heb ddeffro i deimlo ei dwyll,
Yn arfer ei hên yrfa,
'N ol helynt y byd yma,
Y graddau pella o gyr'edd pwyll.
7. Hon ydyw 'r stat mae Satan,
Trwy ogan ynddi 'n trigo,
Yn ddwysog ar y deillion,

A dynion yn byw dano,
Ymhlant yr anufudd-dod,
Mae 'n gweithio 'n hynod heno,
I'w tynnu i bob aflendid,
Mae rhydid hwn i'w rhwydo,
Hon ydyw 'r dywyll fagddu,
Mae pechod yn teyrnafu,
A chwedi tyfu i fynu 'n fyw,
Hwn ydyw mynydd Ebal,
Lle mae melltithion amal,
I ennyn dial anian Duw,
Does yma ddim cynhwyfiad,
I ofod cyfraith cariad,
Ni bu 'no ar rediad mo'no 'rioed,
O's digwydd dim ymryfon,
Daw dant am ddant yn union,
Cariad ffyddlon cerdded ffoed.
8. Y ftat a'r cyflwr yma,
Ydyw fteddfa pob gwatworwr,
Lle gwelir cnoi, traflyngcu,
A chynfigennu o gynnwr,
Ymgeccreth am y *Mamon*.
A thrin dichellion cyfrwys,
Nid ni ond pawb 'r un ffunud,
Mae'r yfpryd hwn i'w tywys,
I hyn yr ymddanghofe,
Mab Duw fel y datode,
'R fath gledion glyme o ddryge 'r ddraig,
Fe'i gwnaeth ei hun yn ddibris,
I'w ymddwyn yma nawmis,
A'i wafgu goris gwregys gwraig,
Lle gwnaed ef yno 'n gnawdol,
Ar ddelw 'r dyn daiarol,
'R un ftat anianol a ny ni,
Fel y dygai fe 'n pechode,

A'r

A'r bywyd yma i ange,
Ei gorph i ddiodde offryme 'n ffri.
9. Nid ftât o lygredigeth,
Yw etifeddieth Criftion,
Ond ftât o Iechydwrieth,
A gaed trwy gyfreth gyfion,
Mae criftion oddi cartre,
Ar fiwrne 'r mab afradlon,
Tra bo fo 'n porthi chwante,
Ar goegedd gibe gweigion,
Er bod yn llwm ei ddillad,
I hwn 'roedd parch a chariad,
Wedi dwad i dŷ ei Dad,
Ei wifgo a gwifg gorfoledd.
Arlwyo ei fwrdd yn loywedd,
A phob anrhydedd iddo 'n rhad,
Fel hyn mae 'r criftion ynte,
Yn derbyn parch a breintie,
Pan ddelo adre yn ei ol,
Wedi iddo fod yn fudredd,
Yn aros mewn anwiredd,
Annuwiol fuchedd ffiedd ffol.
10. Gwlad bell ag anghyfannedd,
Yw gwledd melyfwedd pechod
Gwlad lawn o foch afluniaidd,
Ac anifeilaidd filod,
Rhaid newyn ar yftymog,
I'n hannog o'r fan honno,
A phrofi ffrwythe pechod,
Yn forod wedi furo,
Mae 'n henaid yn newynu,
A gwledd Efengyl Iefu,
Wedi darpharu o'r perwyl hyn,
Danteithion brâs pafgedig,
A gloyw win puredig,
Yn ei gynig gan Dduw gwŷnn,

Cychwnwn o dŷ Pharo,
I'r Ganaan a'n digono,
Y wlad sy 'n lliso o fêl a llaeth,
Nid ydyw Crist yn fodlon,
I'n gadel tan law estron,
I fyw fel gweision culion caeth.



CAROL Plygain ar Charity Mistress, a gyfieithwyd o gân Saesnaeg o waith Sir *William Daws* gynt Arch Esgob *York:*

XXXV.

1. POB cristion llawenganed,
A moled ef, yr Arglwydd nêf,
A'r galon fel a'r gene,
A llafar eirie llêf,
Am nodded ogoneddus, daionus Duw,
Rhyfeddol yw, danfonodd i ni 'n Feddyg,
Ei fâb charedig ryw,
Yn fendigedig faban duwiol anian,
Deuai i lawr,
Mewn cariad cu, fel y caem ni frŷ,
'N derchafu i fynnu 'n fawr,
Angylion Duw hedasan,
A'r newyddd gân fod i ni gyd,
Brynedigaeth goedd,
Gan frenin oedd, uwch ben Brenhinoedd byd.
2. Rhyfeddod oedd ei ymddwyn,
Gan forwyn rŷdd, a'i gael mo'r gudd,
Ag nid fel twysog bydol urddasol ar ei ddydd,

Ond

Ond mewn tlodi ag adfyd diyſtyrllyd ſri,
Y troes Duw tri,
Bu 'n waeledd ben ei welŷ,
I'n gogoneddu ni,
Ni feddai ei fam ef yma,
Na thŷ na thrigfa orweddfa wŷch,
Er hyn fe i rhoed hi i'w eni heb oed,
Wrth ochor troed yr ŷch,
Hon oedd a *Joſeph* dduwiol,
Yn ymorol am ryw le,
Er crwydro 'n wan,
Nid oedd i'w rhân un drigfan yn y dre.
3. 'R un lletty ar eu ſiwrne,
Ni rodde un radd pawb a'u naccadd,
Ond beudŷ i fam yr Ieſu,
A'i dwyn i'w gwelu gadd,
Dim ſidan gwych oſodiad,
Na dillad crŷd o drwſiad drud,
Ond preſeb yn obennydd,
I Arglwydd mawr y bŷd,
Ag yno cae fagwraeth,
Gan fammaeth wrŷf berffaith bur,
Nes daeth ger bron, wrth ſeren lon,
Dri doethion wiwlon Wŷr,
A'r baban Ieſu gowſant,
A rhoddaſant iddo 'n rhwydd,
Drwy barch a bri, offryme ffri,
Haelioni o union lwydd.
4. Yn hyttrach rhag bradychu,
Yr Ieſu gwŷnn drwy 'r derfyſg dŷnn,
Nhw droen i'w gwlad ffordd arall,
O herwydd deuall hyn,
'Roedd *Herod* frenin ffyrnig Iuddewig ddŷn,
Mewn gwaetha gwŷn,
A'i ddyfais am ei ddifa,
Yn y modd creulona ei lun,

Ordeiniodd lâdd gwirioniaid,
Ar wedd diniwaid oedd dan oed,
Pob un dwy flwydd ne lai 'n ddi lwydd,
I'r cledde 'n rhwŷdd fe'u rhoed,
Gruddfannau dagre afonydd,
Drwy 'r holl heolydd cystudd caed,
Yn gweled gwedd cyrph bach,
I'r bêdd, yn gorwedd yn eu gwaed.

5. Babanod a'u haelode,
'N rhwygiade i gyd,
Mewn dirmyg drud,
Ar waywffyn y milwyr,
Donn fradwyr duon frŷd,
Nid allai eu cu rieni mo'r peri paid,
Wrth agenrhaid,
Na throi cynddaredd digllon,
Gelynion blinion blaid,
Ae 'r ddufarn drwy 'r wlad lydan,
I lâdd pob paban bychan bâch,
Heb 'wllys da 'n dweud trugarhâ,
Wrth blentyn clâ nag Iâch,
Bradychu rhai'n o'u cyrre,
Ar fronne eu mamme troye trist,
A'u diben du ymysg y llu,
Oedd croes fradychu Crist.

6. Duw 'n fanwl a'u danfone,
Da gwyddè ar goedd y ddichell oedd,
Fe gadwai ei fab caredig,
Rhag y fileinig floedd,
Gydâ ei rieni unol daiarol râdd,
Ei fagu câdd,
Nes marw 'r treisiwr gwaedlyd,
Yn erlyd ag yn lladd,
Pob perigl rhedodd drwyddynt,
A nesodd danynt nôs a dŷdd,

Mewn

Mewn isel fri, fel bydde ni,
Oddiwrth y rhei'ni 'n rhydd,
Pa boene mawr esg'lusodd,
Pa lafur na ddioddefodd ê',
I siccirhau happusrwydd clau,
'N heneidiau yn y nê'.
7. Gweithredoedd da danghose,
A'u siample gaed i ninne wnaed,
Pa fodd y dylem etto,
Dlawd rodio hyd ôl ei draed,
Rhoi golwg i rhai dalla,
'N ddi ana ddŷn gwnae gloff ei glun,
Cyfodi 'r meirw i fynu drwy allu Duw ei hun,
Iachau y gwahan gleifion,
Gollyngâi 'n rhyddion y rhai rhwym,
A bwrw i maes gythreuliaid câs,
Drwy nerth ei râs a'i rŷm,
Anrhydedd ei briodas,
O'i nefol urddas doeth-was daeth,
Pan agorai fin i'w drefnu a'i drin,
Dŵr yno 'n wîn a wnaeth.
8. Dau o bysgod pump o dorthe,
Fo'u rhanne 'n rhwydd, yn llowna llwydd,
I'r pummil gwag eneidie,
A newyne yn ei wydd,
Digonol wlêdd groesawys i reidus rai,
Da fwyd di fai,
Rhoi diolch moliant iddo,
Ni fedrent yno lai,
Pan gasglwyd y gweddillion,
Gan y disgyblion wiwlon wêdd,
Addawsant hwy 'roedd yno fwy,
Na'r arlwy cyn y wlêdd,
A deuddeg llawn fasgeded,
I fynu helied ar eu hol,


Yn

Yn amalhau yn lle lleihau,
Heb neb mewn eisiau 'nol.
9. Er maint y rhyfeddode,
Ar gwrthie i gyd, 'roedd yno ó hŷd,
Iuddewon heb ei gredu,
Am ei ddibenu o'r bŷd,
Rhag bario grym y bwriad dymuniad mêl,
Rhoi gwobor gêl,
I *Judas* i'w fradychu,
Wrth ei gusanu o sel,
Ag yno ei ddal a'i rwymo;
Rhoi mwgwd arno a'i guro a' gŵg,
Y cyfiawn ŵr gadd yno 'n siwr;
Ei drîn fel trensiwr drŵg,
Poeri i'w wyneb puredd,
A'i wawdio 'n rhyfedd a wnai rhai,
Rhoi coron grych ei graen o'r gwrŷch,
Wnai ben o 'n ddrŷch o ddrain.
10. Ag un lleferydd gwaeddent,
Ni phallent hwy 'n annuwiol nwy,
Ar *Pilat* i'w groeshoelio,
Na welid mo no mwy,
A'r barnwr drŵg rhyfygus,
Bás Ustus bu, i foddio 'r llu,
Cyflawnodd eu dymuniad,
Rhag colli cariad cu,
Er mwyn i'r gynnen ddarfod,
Yn erbyn ei gydwybod aeth,
Rhoi Arglwydd clir y bywyd hir,
I farw 'n wir a wnaeth,
Ag yno i'r groes fel gwannwr,
Yr aeth Iachawdwr dynol ryw,
A'i arwain cadd fel oen i'w ladd,
Hyn ganiadhadd brŷd Duw.
11. I achub ein heneidie,
Gollase eu lle yn nheyrnas ne,

Troed

Troed ni allan drwy gwymp Adda,
Yn gyfa gyd ag e'
Ei ddwylo a'i draed bendigaid,
I'n rhaid fe'u rhoes mewn chwerw loes,
I'w hoelio 'n ddirmyg dynion,
Warth greulon wrth y groes,
A gwaywffon trywanwyd,
A'i waed ollyngwyd yno 'n llŷnn,
Er maint i'w rhi 'n pechode ni,
Cae 'n yno eu golchi 'n wŷnn,
Yn rhâd ei fywyd rhodde,
I chwi a ninne a'n bathe o'r bŷd,
Ei nawdd a'i nerth fy'n fawr eu gwerth,
Am drefnu 'r aberth drud.

*Hwn a gyfieithais mo'r gywrain ag y gellais yn ol meddwl yr esgob, yn y gan Saesnaeg, y fl. 1776.*



## Carol ar Kings Farwel, i'w ganu mewn cynulleidfa clwb wyliau 'r Nadolig.

### XXXVI.

1. POB gwir genedl a gâr ganu,
Mawl i'n twyfog moliant Iesu,
Dowch gwrandewch mawrhewch yr achos,
Y mae 'r efengyl yn ei ddangos,
Mae 'r gyfraith glos yn dangos i ni,
Am ochel drwg a gwneud daioni,
A dyna fwm y trawiad trwm,
A'r cwlwm fydd arni,

Er ei hyftyr ganwaith drofti,
Dim mwy na hyn ni wnawn o honi,
A'r gyfraith oll a gedwir allan,
Ar bob achos a gair bychan,
O's ceri di 'th gymmydog ffri,
Fel ceri di dy hunan,
Y deunydd cofia dyna 'r cyfan,
Wedi grynhoi a'i roi'n yr unfan.

2. Ag er bod hyn yn gwir gyflawni,
Cyfraith Mofes a'r Prophwydi,
D'oes un o heppil eiddil Adda,
A gadwodd ammod y ddeddf yma,
Nag oes un o ddŷn anianol,
Fel y tyftiodd yr Apoftol,
Pawb ymhob man, a fyrthiodd dan,
Foddion anfuddiol,
Fel yr aeth cyflawniad cariad brawdol,
Yn ormod fwm, ar gnawd rhefymol,
I Grift gofynnodd rhyw ŵr enwog,
Pwy yma ydyw fy nghymmydog?
Pe cawn mi wn, adnabod hwn,
Mi a'i carwn yn ferchog,
Mynegodd iddo ar ddammeg bwyllog,
Prun o'r tri gŵr oedd y trugarog.

3. Danghofodd allan ddull a moddion,
Dyn a fyrthiodd ymhlith lladron,
Pwy ydyw hwnnw heddyw i'w adde,
Ond pwy 'dŷm ni, myfi a chwithe
A phwy'd yw 'r gwr a wnaeth drugaredd,
Cymmydogaeth ac ymgeledd,
Mae hwn o hyd yn byw 'n byd,
A'i 'ddewyd, ddi ddiwedd,
Sef y gwir *Shilo* gore ei fylwedd,
Fab oddi agos heb eiddigedd,
Hwn yw 'r cymmydog nefa i'n calon,
Hwn fy 'n caru Duw a dynion,

'N cwblhau gwaith, gofynion maith,
Y gyfraith wir gyson,
O'i fodd yn madde oni fydd moddion,
I dylodi bob dyledion.
4. Gwir ydi hyn medd rhywun eilwaith,
Fôd Crist yn caru pawb yn berffaith,
Ond oes gorchymmyn arnom ninne,
I garu 'n sanctaidd megis ynte?
Ond wrth ymwrando a nerth yr undeb,
Mae Crist a Christion yn un wyneb,
Nid ydyw dŷn ei eiddo ei hun,
I'w ofyn na'i atteb,
Ond un a Christ mewn priodoldeb,
Duw a wnaeth hwn i ni 'n ddoethineb,
O'r undeb hwn nid wyf wybodol,
Medd un arall yma 'n wrol,
Aeth Crist i'r ne dyna 'i le,
A ninne 'n anianol,
Mewn bywyd dirym bŷd daiarol,
Pa fodd a nyni bydd o'n unol.
5. Fel y mae 'r corph a'r enaid beunydd,
Yma 'n gwlwm am eu gilydd,
Fellu mae Crist a Christion hefyd,
Yn un sylweddol fywiol fywyd,
Na dwaeno hyn fydd yn wahanol,
Mae 'n hel cwestiwne ymgais dynol,
Pa beth a wnâ? Pa fodd y câ,
Fywyd tragwyddol?
Doethineb sy 'n ei yrru i'r ysgol,
At y gorchmynion dwysion moesol,
Ac yno 'n gaeth y mae fo 'n gweithio,
Megis *Israel* tan law *Pharo*,
Yn fad ei Siom, a'r llaw yn llom,
A'r dasg yn drom arno,
Dyna broffesswr heb orphwyso,
Gwaetha bloedd a'r gwaith heb lwyddo,

6. Pa

6. Pa beth wrth hynny wneiff pechadur,
A'i byw yn llonydd ag yn segur?
Crist yn gosod cyfraith allan,
Ag yn cyflawni hohno ei hunan,
Mae hyn yn foddion i'w ryfeddu,
Ag yn dywyllwch i'r diallu,
Ond deddfe Duw i bob dŷn byw,
Sy wrth raid i'w gweithredu,
A'i wadu ei hunan wedi hynny,
'N 'anfuddiól wâs i feddwl Iesu,
Mae dŷn ei hun pan fo 'n wahanól,
Oddiwrth ei briod perthynasol,
A'i fryd yn glau ar gwbwlhau,
Y deddfau ammodol,
Wrth geisio eu cadw 'n wers gysgodol,
Fo una i'w torri 'n fwy naturiol.
7. Hawdd i ni feddwl amryw foddion,
I ddweudyd geirieu a chynghorion,
Bas hel mewn defod Salmau Dafydd,
Carol cariad caniad newydd,
A dweud mo'r dda 'd yw, gweled brodyr,
Yn byw ynghyd, yn gyd gynhalwyr,
A dweud ar ol geirieu *Paul*,
Apostol, heb rwystyr,
Fod pob dawn rhad, heb gariad geirwir,
Fel Sŵn efydd ffals anifyr,
Nid mewn diotta gwledda gloddest,
Y ceir cariad cywir gonest,
Mewn Tafarn dŷ, mhlith un llu,
Sy 'n rhaffu sŵn rhyffest;
'Rhai ddalio gariad toriad dirwest,
Iawn eu Archwaeth, nhw wnan' orchest.
8. Pa beth yw 'r dull ymgynnull yma,
I 'mgau mewn unfan yn gymanfa?
Ond i wrando 'r gair a'i glywed,
Sy 'n Iechydwriaeth pechaduriaid,

Pa be 'roedd *Paul* yn casglu 'r bobloedd,
O fannau tywyll yn fint-eioedd?
Mewn cariad cu, yn llawer llu,
At Iesu fo i twysodd,
Fel morwyn bur fo'i gwir ddyweddiodd,
I'w priod anwyl a'i pardynodd,
A chwedi eu dwyn o dref a dinas,
I mewn i stafel y briodas,
Hon oedd ystad anrhydedd rhad,
Ymroddiad mo'r Addas,
Oedd cymmod ethol eu cymdeithas,
Eu cariad hardd a'u cred a u hurddas.

9. A chwedi cael nhw i'r afael honno,
'Roedd hawdd 'rhoi cyngor i'w perswaedio,
Mae 'n hawdd i fugail heb ei arfogi,
Gadw defaid gwedi dofi,
Pa fath rai oeddynt cyn eu dyfod,
Etto profwn at eu priod,
Rhai 'n mynd ar ôl eu ffansi ffôl,
Yn bobol, heb wybod,
Rhai elwid plant yr anufudd-dod,
Yn dilyn buchedd lawn o bechod,
Rhai yn estroniaid naws druanach,
Yn dilyn meddwdod a chyfeddach,
Yn ddwl, yn ddall, mewn gwyn a gwall,
Co fall eu cyfeilliach,
Yn caru melys chwant a molach,
A charu Duw a chariad oerach.

10. Wedi 'r Apostol efengylu,
I'w dwyn i fyw dan ras yr Iesu,
Cyfadde eu 'lode 'n arfe aflendid,
'Roedd arnynt gywilydd yno o'u plegid,
Derbynient gyngor wyddor weddus,
I roi eu haelode a fafe nwyfus,
Yn arfe rhwydd, i ferchog swydd,
Sancteiddrwydd yn bwyllus,

Ag

Ag ei gyfiawnder arfer gymwys,
A hynny allent a rhydd wllys,
Pan oeddynt weifion pechod ofer,
Yn rhydd i fynd oddiwrth gyfiawnder,
'R ol ufuddhau, cael torri 'r Iau,
Honno 'n ddau hanner,
A'i rhwymo i fynu i fyw dan faner,
Cariad hynaws mewn cred dyner.

11. Ond ydym ni 'n cael clywed geirie,
'R efengyl weithian, bawb fel nhwythe,
Pa fodd na fydde ni yr un feddwl,
Ag yn 'r un fan yn gyfan gwbwl?
Rhai 'n dweudd eu bod yn clywed digon,
Nid ydyw hynny ond tybie gweigion,
Mae 'r 'fengyl fyw yn allu Duw,
Fe'i clyw, y byddarion,
A'r hyn a wnaed gan 'r Apoftolion,
Sy 'n eifie etto i nefu atton,
Dychrynnu *Felix* ar ei orfeddfa,
Rhoi fŷch grap ar ferch *Agrippa*,
Llyfu llês, ag oeri gwrês,
Y Dduwies *Diana*,
Agor eigion calon *Lidia*,
Dyna fwm yr eifie fy yma.



## Dechre CAROL Plygain ar Greeks yn Troy.

### XXXVII.

1. WEL dyma orchwyl parchus,
Neu ddyle fod yn ddilys,
Sef moli Duw daionus, downus dad,

Bendithiwn

Bendithiwn ef heb weniaeth,
Am rad ein creadigaeth,
Oll yma ag am ein lluniaeth,
A'n gwellad,
Pwy ond efe ei hunan,
Sy 'n cofio porthi r cyfan,
Bob anian fy yma 'n byw,
Tad ein hyfprydoedd ydi,
Duw unig pob daioni,
Mae 'n roddi ei ddynol ryw,
Pe edrychem yn y dechre,
O b'le daeth yr elfenne,
Y gwnaed heb ame 'r byd,
Wrth chwilio 'r fath orchwylion,
Ni fyddai 'r doetha o ddynion,
Mewn moddion yma ond mud.

2. 'Roedd raid cael un anfeidrol,
Yn faer ag anfefurol,
A phob peth yn ddigonol,
Ynddo a gaed,
Drwy ryw ryfeddol foddion,
Uwch law dealldwriaeth dynion,
Y cwbl oll yn union fellu wnaed,
A Duw a greodd Adda,
Ar ddelw ei lun oedd lana,
Berffeithia gynta ar goedd,
Pa fut medd rhai cadd Satan,
Le i lygru hwn mo'r fuan,
O'r anian Iach yr oedd,
Mae hwn yn gweftiwn caled,
Y fawl nas geill amgyffred,
Na holed yn rhy hŷ,
Fe wŷr yr Arglwydd cyfion,
Drwyddo 'r holl fadroddion,
Ar ba ddibenion y bu.

3. Am

3. Am hyn amlygai 'r mowredd,
I deilwng briodoledd,
Hon ydoedd ei drugaredd weddedd wiw,
A Duw ei hun pan holodd,
Adda gyfaddefodd,
A gwadu 'r gwir ni feiddiodd yn ei fyw,
Drwy 'r gostwngeiddrwydd yma,
Addawodd y goruchа,
I Adda o'r rhwydda yr had,
I sigo coryn Satan,
Am hudo 'r wraig oedd egwan,
Dwyll anian di wellhâd,
Cadd Adda wir dystioleth,
O'r dirion Iechydwrieth,
A gobeth heleth hir,
Fe gredodd ef heb amme,
Mai 'r Arglwydd a gyflawne,
Drwy wrthie ei eirie 'n wir.

4. Fe fethodd dichell Satan,
Rwystro Duw o'i amcan,
Mae 'n para hyd yr wan fel yr oedd,
Yn cynnyg Iechydwriaeth,
Drwy gariad heb ragoriaeth,
Pregethwyd hynny ganwaith,
I ni ar goedd,
Pa beth sy 'n rhwystro ei dderbyn
Ond natur sydd yn gyndyn,
Anhydyn ydyw hi,
Ag fellu 'r gair ardderchog,
Sy 'n colli drwy 'n côf tyllog,
Ein cnawd hannerog ni,
Mae eisie teimlad yma,
O effaith codwm Adda,
Y wasgfa synna sydd,
Addewydion Duw ddoent wedi,

A'i

A'i ſain yn ſelus i ni,
O gael ein rhoddi 'n rhydd.
5. I ddweud am ei ddaioni,
Cyfododd Duw Brophwydi,
Ag i argyhoeddi heb oedi 'r byd,
Yr Arglwydd oedd mae 'n eglur,
I'w dyſgu i ddweud a gwneuthur,
Ag adrodd gair i'w brodur yn ei bryd,
Nid treuthu geirie cnawdol,
O wag ddoethineb ddynol,
Neu hudol yn eu hoes,
Ond geirie pwyll a ſobrwydd,
A glywent gan yr Arglwydd,
Am grefydd oen y groes,
Trwy ddioddefiadau 'r Ieſu,
Yr oeddynt yn lleſaru,
A hynny i'w gwaſgu i'r gwaith
Er diodde cyſtudd creulon,
Y rhain oedd gwbl ſodlon,
Wyr tirion ar eu taith.
6. Pe gellid adrodd c'ledi,
A ddaeth yn rhan y rheini,
Ni chredai neb nes profi, hyn un pryd,
Son am groes a chyſtudd,
I'r Iuddew oedd yn dramgwydd,
Mae etto i lawer beunydd, yn y byd
I'w braich ei hun hyderant,
Ymgyfiawnhau a fynnant,
A ſafant ſellu 'n ſyth,
Fel yd pen tai yn tyfu,
Brau gynnydd yn brig wnnu,
Heb iawn addfedu fyth,
O eiſiau teimlo a chredu,
Y gwnae 'r Iuddewon hynny,
Groeſhoelio 'r Ieſu heb rŷs,

A'i wyſgo ſe 'n ddiyſtyrllyd,
I'w ddryllio ar goron ddreinllyd,
Och! Wedi ei waedlyd chwys.

7. Geill llawer hwyrach deuru,
Na ſaſent hwy ddim ſellu,
Sef yn croeſhoelio 'r Ieſu,
Na'i wadu 'n wir,
Ow bernwch ſarn yn gyſion,
Beth yw eich erchyll lywon,
Ond dyrnod ar yr hoelion,
Dwyſion, dwyſion dur,
Pa beth yw brwnt odineb?
Ond megys poeri i wyneb,
Diweirdeb Duw
Pa beth yw 'r llid twyllodrus?
Ond ſel y milwr dibris,
A wanai ei yſlus wiw,
Pa beth yw 'r croes ymdeuru,
Sy 'nghylch 'piniwne o'n deutu?
Rhai ſellu 'n cablu cawn,
Mewn tywyll ſel bartiaeth,
Ddi gariad heb ragoriaeth,
I'r hen elyniaeth lawn.

8. Edrychwn bawb ein mynwes,
A ydyw 'r hyn a henwes,
Yn caffael gwneud ei lloches ynddi 'n llawn;
Mwy ei thwyll na dim ſydd yma,
Yw 'r galon le dirgela,
Medd geiriau *Jeremiah* ddoetha ei ddawn,
*Ezeciel* gynt a welodd,
Y dwyll a'r delw gelloedd,
Dyſnderoedd oedd mewn dyn,
Mae yma addyſg hynod,
Pe cae 'm ond gole i ganſod,
Drwy 'r bennod i bob un,

Ar

Ar unwaith yr adnebydd,
Y dyn ei hun a'r Arglwydd,
Mewn sobrwydd wiwlwydd waith,
Fe brofir hyn yn ddilys,
Yngeirie *Saul* o darsus,
Wr dyrus ar ei daith.
9. Pan glybu ef y geiriau,
Mai caled oedd, fe eu coeliau,
Ymryson a symbylau croesau Crist,
Gofynnai i'r Iesu 'n brysur,
Pa beth a fynnai wneuthur, och wedi,
Fel pechadur tra amhur trist,
Ni cheisiodd ymgynghori, a chig a gwaed fyth
Gwedi, ond gwir Addoli ei Dduw,
A chario croes yr Arglwydd,
Trwy gariad tan ei gerydd,
Tra bu fe beunydd byw,
Ag fellu efe a fedodd, o'r ffrwythau gynt a hauodd,
Lle rhoddodd yma ar hyd,
Sef erlyd yr eglwysi, cadd ynte ei erlyd
Gwedi, a'i boeni yn y byd.
10. Ag fellu fy nghyfeillion,
Mae Duw yn farnwr cyfion,
Yn gwneud a dyn yn union dan y ne,
A'r Sawl a blygo 'n ddibrin,
I gyfraith nefol frenhin,
Fe rodia hwn wrth linyn yn ei le,
Pan ddelo 'r Arglwydd uchod,
Yn farnwr i'r gydwybod,
Fe wna ryfeddod faith,
Daw pechod hen a newydd,
I'n golwg fel eu gilydd,
Bydd gywilydd i ni o'n gwaith,
Fel hyn mae 'r Arglwydd Iesu,
Yn raddol yn ceryddu,

O Ac

Ac fellu 'n dyſgu dyn,
Fel delo ef dan deimlad,
A chael o'r ſgrythyr gauad,
Ddehongliad ynddo ei hun.

11. Gweithiwr rhydd yw 'r Arglwydd,
Geill ddangos yma 'n ebrwydd,
Greadur hen a newydd, ynom ni,
Ond cyffwrdd a'n cydwybod,
Gwna i'r canol-fur ymddattod,
Datguddir y ddau hynod ynddi hi,
Y naill fel *Jacob* dduwiol,
Yn noſio am bethe nefol,
Sy 'n llefol ymhob lle,
A'r llall fel *Eſau* flyſig,
Am bethau darfodedig yn unig dan y ne,
Ag fellu 'r ddau efeillion,
O'r unrhyw grôth y daethon,
Drwy 'mryſon creulon cry,
Er hyn fe orfu i'r hyna,
O rhain waſnaethu 'r Ieuenga,
Yn ol gair *Rebecca* bu.

12. Ag fellu 'r Adda cynta,
Raid roddi ei le i'r ail Adda,
Yr ola fynd ymlaena ar yrfa o ras,
A'r blaena 'n ola i'w alw,
Yr hunan ydi hwnnw, ni una,
'R llall a'i enw chwerw a chas,
Fel hyn y dyn yſprydol,
A ddwg y ddelw nefol,
Yn lle 'r ddaiarol ddall,
Ag olew gras i'w galon,
Ac fellu 'n debyg ddigon,
I'r cu forwynion call,
Drwy raddol wir ymroddiad,
Mae 'r duwiol yma 'n dwad,

I'r

I'r cariad gwaſtad gwiw,
Ag mewn ſefyllfa ſellu,
Y gellir cywir ganu,
A doeth ſoliannu Duw.

Englyn
O's gellwch cenwch modd cu,
Yn ſelus: Foliant i'r Ieſu,
A chofiwn wir ddeṛchafu,
Byth i fawl am beth a fu.
*Daniel Jones* a'i *Cant.*

## Carol Plygain ar Kings Farwel.

### XXXVIII.

1. DYMA 'r wyl, a Duw 'morolwn,
Pa waith goneſt beth a ganwn
Mae achos canu a cheiſio cynnyg,
Fel y dylem fawl nadolig,
Mae achos hefyd aſtud yſtyr,
Prun ydyw 'n cân a'i glân a'i,
Amhur, ag ymha ſtad,
Yn rhoi mawrhad,
Mae llefiad ein llafur,
Mae 'n hawdd gwneud lleiſiau.
Moeſau meſur,
I foddio byd a chnawd a natur,
Er bod achos llawenhychu,
Ymhob rhyw oes am eni 'r Ieſu,
Ond cofiwn hyn, pa beth a fynn,
Duw genym cyn canu,
Profi 'r teſtyn ac iawn farnu,
Pa ffaſiwn gariad ſy 'n ein gyrru.
2. Nid oes a gân i Dduw ogoniant,
Ond ei ddelw nag a'i haddolant,

Pwy yno ganodd pan ei ganed,
Ond yr Angylion a'r bugeilied,
Rhyfeddod oedd gan yr Angylion,
Weled delw brenhin *Seion*,
Fel ag y gwnawd e'n ddyn tylawd,
Mewn dinerth gnawd dynion,
Doen ar wir nawdd ar da newyddion,
Gan eu gosod ar gan gyson,
A rhai dderbyniodd eu cyfarchiad,
A ganai 'n llafar yr un llefiad,
Doen yn gydtun am Grist ei hun,
O'u bron ar un brofiad,
Ag lle ni chae 'r dystiolaeth ddwad,
Du elyniaeth oedd y dilyniad.
3. Ac fel yr oedd hi yn y pryd hwnnw,
Yr un tueddiad fydd hyd heddyw,
Ni chân doethineb y byd yma,
Ddim i Grist ond hi a'i herlydia,
A phettai hwn yn ei chyrhaeddiad,
Fe gae 'n druenus yr un driniad,
A gafodd e' ym ob lle,
Hyd ddyddie ei ddiweddiad,
Mae 'r farph a'i cholyn o'r dechreuad,
Etto 'n ystyn atto 'n wastad,
Ond fe gân dynion oerion areth,
Mewn enbydus anwybodeth,
Yn arwydd nod, i gynal clod,
Y ddefod yn ddifeth,
Heb 'nabod Crist mewn ysprydoleth,
Na dwys dalent ei dystioleth.
4. Mae 'n hawdd i rhain wneud fain cysondeb,
A llawen ganu 'n llon eu gwyneb,
Heb un chwith awel na chaethiwed,
A'i nad i ganu ar gnawd nag ened,
Mae cyflwr eglwys Dduw 'n gyfnwydiol,
Weithie 'n gaeth ac yn gystuddiol.

Ac weithie 'n rhydd, o'r cyfnos cudd,
Fe dyrr dydd dedwddol,
Pan wel ei bod mewn ſtâd achubol,
Hi gân am rydid ymwaredol,
Pan oedd yr eglwys dan beryglon,
Yn flin galonne o flaen gelynion,
A'r Arglwydd Iôr, yn hollti 'r mo'r,
I agor yr eigion,
Ar ol y culni a'r oerni calon,
Yn gynheſol nhw ganaſon.
5. Weithie a'i chwyn yn waeth ei chaniad,
A llais gwael oernych lleſg alarnad,
Ac weithie am lwyddiant orfoleddus,
A chân gogoniant moliant melus,
Weithie a'i chân yn methu chynig,
Yn eiſte 'n adyn gyſtuddiedig,
Ym Mabilon, a thelyn hon,
A'r hoelion o helyg, *Pſal.* cxxxvii. 2.
Dan gaeth ammodau gorthrymedig,
Ni lyſaſai alw am fiwſig,
Rhai yno geiſiau ganddi 'n gyſon,
Ganu per ganiadau Seion,
Ag yn ei byw, ni chanai i Dduw,
Mewn diſtryw gwlad eſtron,
Wedi chaeth gludo,
A i chlymme 'n gledion,
A wnai ei chaniadau yn ochneidion.
6. Fel hyn y bydde 'r brenhin Dafydd,
Weithie 'n canu per leferydd,
Weithie 'n tuchan ag yn wylo,
A dyddie triſtwch yn dwad troſto,
I babell Duw drwy bwyll y deue,
A'i gerdd ſoniarus gyſon eirie,
Ag ymbell bryd fe ſyddai 'n ſud,
Heb gorud ei ene,
Ag fellu 'n ddifalch fe addefe,

 Mai

Mai alltud ydoedd a'i holl dade,
Fe dwaenai 'r galon a'i dyſn gile,
Am hon yn ddidwyll,
Hyn a ddweude,
Mai gwagedd yw pob dyn byw,
Y gwyr o'r rhyw gore,
A dyna 'r gwir da iawn i'w 'r geirie,
A phwy a feder eu brofiade.
7. Ped fae ni 'n yſtyr barn a phrofiad,
Pobol Dduw a medru eu ddirnad,
Fe ſyddai gwilydd arnom ganu,
Hyd hen arferiad i'n diſyrru,
Canu ar redeg hyn yr ydem,
Fod wedi geni Criſt ym Methlem,
Nid oes i'n gwlad ddim lleſaad,
O'r ganiad ſydd genem,
Heb nabod Shiloh Brenin Salem,
A'i fawl dilys fel y dylem,
Mae hanes ganedigaeth Ieſu,
A'r modd y daeth e' i'r byd mewn beudy,
A phawb mo'r ffel, yn medru ei hel,
Hen chwedel yw hynny,
Sy ar flaen tafod wedi tyfu,
A gwir ydoedd hawdd ei gredu.
8. Fel wel pob Criſtion calon effro,
Ymhle mae 'n henaid wedi huno,
Ynghyſgod angeu tywyll drigfan,
Ymro eulynnod marwol anian,
Yn y ſtad y cwympodd Adda,
Dan gondemniad i'r byd yma,
Fe ſyrthiai 'n tad, a'i heppil had,
O wlad ei orphwysfa,
Y lle roedd einioes llwyr 'ddiana,
I fethiant fuchedd chwant afiacha,
I yrru ar ddidol o ardd Eden,
I dramwy 'r ddyrus drom ddaiaren,

I

I dorri ſlŷs, ar ſara ar frŷs,
Drwy nerth chwŷs ei dalcen,
At ffrwythau Duw rhag byw drachefen,
Ni chae mo'r dringo i dorri ei angen.
9. Fe gadd ſymudiad nid un unig,
Teg aelodau 'r corph gweledig,
Ceneddfau 'r enaid byw ar yſpryd,
O ddirfawr ſwm a ddarfu ſymud,
Cyn y cwymp yn ddyn yſprydol,
A chwedi hynny 'n ddyn anianol,
Y meddwl aeth, ganddo 'n gaeth,
Naturiaeth ddaiarol,
A gaue am dano ag amcan dynol,
A rheini a wyfai y rhinwedd nefol,
A ſwm ei anian ſy ynom ninne,
O ran y meddwl yr un modde,
Daiarol yw, dynol ryw, mae'n briw yn ein bronne,
Oddiwrth gwymp Adda fel pe bydde,
Yn llŷm gornwydydd lladdgar node.
10. A dyna 'r clefyd Archolledig,
Yr anfodwyd Criſt yn feddyg,
Mae pawb yn glâf o'r clefyd yma,
Er hyn yn Iâch y rhan fynycha,
Pob clefyd trwm ſy 'n troi 'n y mennydd,
I yrru 'r tafod i 'mleferydd,
Cyffeſu wnawn fore, prynhawn,
Yn grŷf iawn o grefydd,
Adrodd geirie ar ol darllennydd,
Braf eu dawn heb brofi eu deunydd,
Ein bod yn ddrwg weithredwyr truein,
Heb ynom iechyd bawb yn ochen,
Cydwybod fai i bwyſo 'r bai,
Wrth raid fath rai yden,
Ein bod yn ymleferydd darllen,
O'r hen weddi yr hyn ni wydden.

11. Am drugaredd ymdrin geirie,
Tosturia wrth drymder ein calonne,
Goleua ein twllwch, dattod etto,
Gadwynau pechod sy 'n ein rhwymo,
Mae rhain yn eiriau 'r hen henuriaid,
Prophwydi, Saint, a'r gwir ffyddloniaid,
Ymhle, ymhwy, mae eu hyspryd hwy,
Yn profi clwy 'r enaid,
Dyna 'r truan trom ochenaid,
Sy 'n derbyn budd yn nydd anghenraid,
A dyna 'r glan ei ddwylo a'i amcan,
Sy a chlustie i wrando 'n cofio 'r cyfan,
Sawl sy am ymroi, i ffri ddeffroi,
Rhaid iddo ffoi allan,
I henw hwn, o hono ei hunan,
Cyn delo i ynill duwiol anian.

12. A chwedi hyn mae Crist yn eglur,
Yn yr yspryd nefol natur,
Ceir yno 'n dêg ei anedigaeth,
I'r byd a'i fywyd a'i farwolaeth,
Nid hanes Crist sy gan y cristion,
Draw o hirbell o'r golygon,
Ond Crist ym mro, ei enaid o,
Yn gwylio yn ei galon,
Pan fo 'n llesgau 'n Iachau ei glesydon,
Ac iddo 'n rhaglaw mhob peryglon,
I'w sirio 'n fawr yn seren fore,
Yn fugail hwyr 'rhag sawyr bleiddie,
Yn hawl o hyd, tra bo 'n y byd,
Yn fywyd, yn ange,
Yn adgyfodiad o'r gofidie,
Yn oll Amen, a'i 'n well y mynne?

CAROL

CAROL ar Greeks in Troy; Ychydig yſtyriaeth ar y gair goneſtrwydd, yr hwn a wnaed i gymdeithas y clwb yn Llantyſilio *Jonawr* y 6ed 1778.

XXXIX.

1. AGORWCH gluſt a chalon,
I wrando etto 'n fodlon,
Er i chwi glywed digon eirchion Iâch,
O'ch gweled efo'ch gilydd,
Am garol nid oes gerydd,
Ped ſawn i 'n gyrru beunydd un gair bach,
A dyma 'r gair agora,
Goneſtrwydd yw mi a'i henwa,
Pawb a'i canmola mi wn,
Nid oes happuſrwydd i ni,
Na deunydd dim daioni,
Mewn un cwmpeini heb hwn,
A phawb ſydd yn ei chwennych,
I fod o'i blaen yn wrth-ddrŷch,
Fynych fawl,
Pob un a ſynn mewn enw,
I fod o ganddo 'nghadw,
Ag ar ei helw 'n gywir hawl.
2. Pe holai cweſt ſynhwyr-gall,
Gynlleidſa hon ne arall,
Bob un ag un, hawdd deuall fel y doen,
Ceid pawb yn lân ei ſuchedd,

Yn

Yn oneſt wr di duedd,
Attebion doedd a rhyfedd dethe rboen,
Fel brodur *Joſeph* dweuden,
Gwyr cywir goneſt yden,
A ddaeth mewn diben da,
Ar gynulleidfa 'n gyflawn,
Er yno wyro 'r uniawn,
Fel hyn ym gyfiawnhâ,
Pryd arall holi 'n gywrain,
Ryw ddau neu dri ar ddamwain,
Pa mo'r ddwys
A thaglyd yw'ch erthygle,
Mae genych galed glymme,
Mewn pyngcie a barrie o bwys.
3. Attebai rhain yn union,
Mae 'n rhaid fod cyfraith ganddon,
I rwymo cnafiaid hyfion,
Rhag ofn twyll,
Mae yma ymbell gybydd,
A dynion drwg eu deunydd,
Di gywilydd heb na chrefydd ffydd na phwyll,
O's fellu 'mae 'ch tyſtiolaeth,
Anghenraid ydyw cyfraith,
I roi rheolaeth ar y rhain,
Lle bytho natur chwannog,
Rhaid cau ar draws rhai drygiog,
Awch droiog a gwrych drain,
Mae hyn yn wir yn arwydd,
Fod diffyg am oneſtrwydd ynom ni,
Er bod pob dyn am dani,
Wrth fanwl chwilio a phrofi,
Ceir llawer hebddi hi.
'Roedd brodyr *Joſeph* 'nhwythe,
'N ŵŷr cywir oll o'u cyrre,
Nes iddo eu dwyn dan rwyme,
Clymme clos.

A gwneud y gwyr yn lladron,
I fod yn garcharorion,
A'u gosod iddo 'n weision,
Yn ddi os,
Y gwyr cywir wrth eu chwilio,
A gaed yn Euog yno,
Erbyn teimlo eu twyll,
Tystiolaeth eu cydwybod,
I'r dynion hyn yn dannod,
Wneud pechod heb ddim pwyll,
Fel hyn y gwr cywira,
Iawn ystyr a'r gonesta,
Ei ana yw,
Twyll pechod, fel na welo,
Eisie gonestrwydd etto,
A byth tra bytho byw.

5. Medd llawer un gan honni,
Mae calon onest genni,
Heb nabod beth sydd ynddi 'n llenwi'n llwyth,
Fe welodd y prophwydi,
Ryw olwg arall arni,
Drygioni wrth ei phrosi oedd ei ffrwyth,
Ond gorchwyl maith a gorchest,
Yw chware teg gwr gonest,
Er rhoi iddo foles fawr,
Anhawdd ei gael o i'r gole,
Ac anhaws troedio êi lwybre,
Fel y dyle ninne 'nawr,
Ni roedd erioed i'w erbyn,
Na chyfraith na gorchymmyn,
Cyndyn caeth,
Na barn na cherydd caled,
Na chywilydd hyll na cholled,
Am niwed yma wnaeth.

6. Pa beth yw 'r termau trymion,
Cyfreithiau a'r llyfre brithion,

Swyddogion

Swyddogion a'u bygythion mawr i gyd,
Oni bae 'r gyfraith gauad,
Ar ofnau bydol drefniad,
Ni byddai ond twyll a lledrad oll a llid,
Beth ydyw 'r blin ryfelon,
Sy rhyngon ni a'n brodorion,
I troi 'n elynion traws,
Dechreuad y llidiawgrwydd,
Rhwng lloegr hen a newydd,
Oedd anoneſtrwydd naws,
Wrth hyn ni wiw rhoi allan,
I 'run gynulleidfa fechan ogan air,
Gan fod penaethiaid gwledydd,
Yn gwyro barn goneſtrwydd,
Bob newydd beth a wnair.
7. Ond Duw roes yn y cynfyd,
Oneſtrwydd difrycheulyd,
Ynghalon dyn a'i fywyd gwynfyd gwir,
Yr hauwr mawr a hauodd,
Had da 'n ei faes ni fiſiodd,
O b'le doe 'r Efrau a dyfodd yn ei dir,
A'r Gwenith a eginodd, a'r Efrau ymddanghoſodd,
A'i llanwodd ymhob lle,
Fellu goneſtrwydd ſafodd,
Ynghalon dyn lle gwreiddiodd,
Ond twyll a gododd gyda'g ê',
A dyna 'r dwyll ddichell-gar,
Sy 'n yſpryd call deuall-gar,
A gweithgar yn ein gwaed,
Cyfrwyſter chwant yr arian,
A dry oneſtrwydd trwſtan, yn druan dan ei draed.
8. Gwers galed i'r dyſgedig yw 'r gair goneſtrwydd,
Unig er medru ei ddweud yn llithrig ag yn llyfn,
Rhaid iddo ymdrechu llawer,
Yn erbyn twyll a ffalſter,

Ceiff

Ceiff brofi yma fatter doethder dyfn,
Er dyfned yw ei waelod, gair byrr yw hwn
Go barod, ar dafod gan bob dyn,
Ond dyfgwch hwn bob amfer,
Daw 'r gynulleidfa ar fyrder yn llawer
Gwell ei llun,
Hwyrfrydig yw fo am arian,
Nid cyfoethogi 'n fuan a wna fe,
Er hyn mae 'n byw 'n gymhedrol,
A'i geniog yn ddigonol,
A llwyddol ymhob lle.



## Carol Clwb, ar Sufanna.

### XL.

1. GAredigion dynion downus,
Cyd Aelodau corph yr Eglwys,
Sydd yma 'n gwlwm efo eu gilydd,
Yn difgwyl clywed rhyw beth newydd,
Pa newydd hefyd, nas mynegwyd,
Sy i'w ddweudyd i chwi 'n ddwys,
Chwi glywfoch eirie dyfg a donie,
Am amryw bethe mawrion bwys,
Chwi glywfoch ganmol, buchedd dduwiol,
Wrth reol perffaith ras,
Chwi glywfoch wedyn, farn yn erbyn,
Yn annuwiol-ddyn cyndyn câs.
2. Chwi glywfoch fon am elufene,
A gwir frawdoliaeth fel y dyle,
Ag adrodd llawer o gynghorion,
Bywiog ethol a bygythion,

Ni a glywſom lunio i'r duwiol ened,
Gael nodded yn y ne,
Ac uffern echrys, i'r drygionus,
Anhappus mewn wylofus le,
Nid ydyw hyn, ddim newydd i ni,
I'n bronn i beri braith,
Ond peth cyffredin wrth ei wrando,
'R ŷm wedi hir gynfino a'r fath.
3. Pa heth a ddweudwn i etto mhellach,
Ellir deunyddio dim newyddach,
Y mae 'r hen bethau 'n myned heibio,
Pob peth o newydd wedi llunio,
Ond gwin newydd yw gair yr Arglwydd,
A dyſn leferydd dwys,
A'n clyſtie ninne, 'n hen goſtrele,
I gynnal pethe o gymmaint pwys,
Rhaid wrth newyddion leſtri cryfion,
I ddal ymadroddion Duw,
Nid oes un dirym ddyn daiarol,
A'i ceidw 'n ſanol yn ei fyw.
4. Car dy gymmydog fel dy hunan,
Ymadrodd fellu rodd Duw allan,
A rho d' eluſen gan ddirgeled,
Na wyppo'th law dy hun mo'th golled,
O's yſtyriwn hyn a farnwn,
Na fedrwn ni 'r un fodd,
Yn ddi wyrni mo'r cyflawni,
'R geirie rheini i'r gwr a'u rhodd,
O's heb gyflawniad y gair cariad,
Sail holl adeilad Duw,
Mae pob yſgrythyr, heb ei gwneuthur,
Gan bechadur eglur ŷw.
5. Cydwybod ſy 'n ein hargyhoeddi,
Nad ŷm ni ddim yn ei gyflawni,
Am hyn mae 'r galon yn condemnio,
A barn y gyfraith yn ein rhwymo.

A chyfiawnder yn ei digter,
Yn dangos eger ŵg,
Ein gwneud yn hyſbys adnabyddus,
O'n truenus fywyd drwg,
Rhaid i ni bellach gael manylach,
Cywireiniach doethach dyſg,
I lynu wrtho byth ne beidio,
A henwi mo'no yn ein myſg.

6. Mae 'n boſibl gyda r Arglwydd cyfion,
Yr hyn nad ydyw gyda dynion,
Fe allodd Criſt gyflawni 'n helaith,
Y gorchymmyn cariad perffaith,
A'r un trugarog Criſt galluog,
Eneiniog ynom ni,
Sy 'n cadw 'n cynal, ei ddeddſau 'n ddyfal,
Er mo'r amal yw eu rhi.
Mae 'n maddeu 'n ffyddlon ein dyledion,
O gywir galon gu,
Yn gwneud cymdogaeth hael a helaeth,
Iawn frawdoliaeth yn ei dŷ.

7. Mae etto gweſtiwn mawr i'w holi,
A ydyw ynom wedi eni,
A ninne ynddo ynte 'n unol,
Wedi ein geni o'i gnawd yſprydol?
Dechreuad arfaeth trefn naturiaeth,
Yw ganedigaeth dyn,
Llun nis gwelir, llais ni chlywir,
Hyd oni 'n genir bod ag un,
Mae ail gyffelybiaeth ganedigaeth,
Drwy yſprydoliaeth Duw,
Hon yw dechreuad, brawdol gariad,
A doniol roddiad Dynol ryw.

8. Hyn yw dechreuad gwir Griſtnogaeth,
Fod Criſt yn dwad i'w frenhiniaeth,
A'i eni 'n gowled yn y galon,
Lle mae llywodraeth ei elynion,

Lle mae twysogion Belial greulon,
A Mamon yn eu mysg,
Trwy gyfrwysdra rhain a dwylla,
Y dynion ffela doethá eu dysg,
Cybydd-dod, balchder, trais a thrawster,
Meddyliau ofer iawn,
Anghrediniaeth, drwg genhedlaeth,
Sy i'r Iesu mewn gelyniaeth lawn.
9. A hen gynfigen filen falais,
Y sydd oddiamgylch a swydd ymgais,
Chwant y cnawd a chwant y llygad,
Sydd yma ag accw 'n cadw marchnad,
Plefer maswedd, anifeiledd,
Yw 'r ffoledd sy yn eu ffair,
I gynal meddwdod ag anghydfod,
Yn llysu a gwrthod llais y gair,
A dyna 'r arfog, lu banerog,
Cleddyfau miniog mawr,
Pan ddelo i'n calon frenhin Seion,
Fe dynn ei elynion dano i lawr.
10. Y brenhin Dafydd yn yr yspryd,
Oedd ŵr a'i canfu nhw' er y cynfyd,
At Dduw rhoe weddi ddifri ddygyn,
Yn ddi wyrni am ddial arnyn,
Gan ddweud yn ebrwydd, cyfod Arglwydd,
Yn drawydd heb ymdroi,
A gwasgar ymmaith dy elynion,
Par i'th gaseion ffeilsion ffoi,
Rhown ninne bwyllus, weddi awyddus,
A llef soniarus fain,
Am ddyfod dialedd, Duw 'r gwirionedd,
A'i yrru 'n rhyfedd ar y rhain.
11. Tra bo 'r gelynion hyn yn glynu,
Tu mewn i'n mynwes mae nhw 'n mynnu,
Ffrwyth y bywyd a'r meddylie,
'R cnawd a'r yspryd a'r serchiade,

Ni

Ni cheiff yr enaid hôff air yno,
Na ſugno llaeth y ſaint,
Gan genhedlaethau drwg gynnèddfau,
Sydd mewn meddiannau o fronnau ei fraint,
Trigolion cynta *Canaan* lowna rhaid eu difetha ſyth,
Ond te ni chawn mo'i grawn i'n maethu,
Na ei harchwaethu tra bo chwŷth.

12. Fel ag y gorfu i'r Iſraeliaid,
Ladd Brenhinhoedd yr Amoriaid,
A meibion Anac oedd ben yno,
Gryſa cowri gorfu eu curo,
Cynneddfau natur yr un yſtyr,
Sy 'n gawri pybyr iawn,
Ag fel Brenhinoedd a chenhedloedd,
Yn finteioedd lluoedd llawn,
Pa gowri gwrol, rhwyſg Brenhinol,
Mo'r awdurdodol dynn,
Ag ydyw 'r byd a'r cnawd a'r cythrel,
O's awn i'r rhyfel a rhai hyn.

13. Mae addunedau bedydd Criſtion,
I 'mdrechu a rhain yn filwr ffyddlon,
Wedi iddo gael y fuddugoliaeth,
Mae mewn meddianne o'i lle a'i lluniaeth,
Yn mynd i undeb Duw a'i burdeb,
Ymhreſenoldeb Ne'
Cael bara bywiol gwledd yſprydol,
O mo'r lwyddol yw ei le,
Phiolau llownion ſy yno ddigon,
Ac arlwy rhoddion rhâd,
Pob cynhaliaethu i'n heneidiau,
Cyfreidiau ſy 'nghynteddau 'n Tad.

14. Heb Dduw heb ddim er ſtad Arglwyddi,
A Duw a digon er tylodi,
Nid oes ar neb ſydd yn ei ofni,
Un amſer ddiffyg dim daioni,

Ni a gawn a geision, mewn ffordd union;
Dda foddion ganddo fe,
I wneud trugaredd, lufen lwyfedd,
Yn iawn a lluniedd yn eu lle,
Fe wna 'n cymdeithas, i ni 'n urddas,
Iawn bwrpas addas yw,
Wrth ei chynwys yn gariadus,
Yn ol gwir wllys downus Duw.



## Carol ar Greeks in Troy; annogaeth i geisio yr un peth anghenrheidiol.

### XLI.

1. FY ngharedigion frodyr,
Fel diwyd fwyn wrandawyr,
Sy 'n ceisio clywed cyffur bybyr bwyll;
Pa gyffur mwy i'w ddymuned?
Nag unig feddyg ened,
I ware pechaduried yn ddi dwyll,
Mae llawer o gynghorion,
Rhybuddion a bygythion,
I ddynion yma 'n ddysg,
Er hyn mewn gair fylweddol,
Un peth fydd angenrheidiol,
I'w 'morol yn ein mysg,
Hyn gyda Mair garedig,
Yw dewis rhinwedd unig y rhan dda,
Sef rhan o etifeddiaeth,
Y faint yn eu brenhiniaeth,
Rhan helaeth na leiha.

2. A hon yw y rhan ddymunol,
A roddwyd yn gyfrifol,
I ddynion yn feddiannol y grafol Grist,
Hwn ydyw pren y bywyd,
A'r perl godidawg hyfryd,
I'n tynnu ni o bob adfyd trymllyd trist,
Am dano y manwl chwilie,
Yr hên Brophwydi a'r feintie,
Drwy boen er dechre 'r byd,
Yn anwyl fab diddanwch,
I'w galw i ddiogelwch,
A heddwch yma o hyd,
A rhai enillodd feddiant,
O hono gafodd lwyddiant yn ei wledd,
Mae etto ddrws agored,
I'r penna o bechaduried,
I'w nodded yn un wedd.

3. Pob achos mawr o bechod,
Pob meddwdod ac anghydfod,
Pob croes a difoes dafod trallod drwg,
Pob fynniol rwystrus anian,
O'r wllys a dyrr allan,
Pob llid yn tannu 'n llydan aflan ŵg,
Tra byddom heb feddiannu,
'R hwn a ddichon ein heddychu,
Sef Iefu ei hun,
Trwy rinwedd grym ei degwch,
Mae 'n toddi calon galedwch,
Ac anwadalwch dyn,
Ei gariad a'i ragorol wir air er union
Reol, i ni a rydd,
Difgleirdeb ei oleuni,
Yn ganwyll i'n digoni,
A'n hyfforddi ni yn y ffydd.

4. Ond dynion wrth naturiaeth,
Sy 'n ceifio gwneud difgyblaeth,

A delw gwir frawdoliaeth berffaith bur,
Gan fynd ynghyd i'r unfan,
Mewn howddgar ddull oddiallan,
Brydweddol gwmni diddan wiwlan wyr,
Wrth ddefod arfer gymwys,
Gwir ydi a threfn gariadus,
I'r eglwys oll yr awn,
Gwasanaeth Duw 'n gyfonol,
A phregeth áraith wrol, ddigonol yno gawn,
A ninne mewn danghofiad,
Aelodau corph cyd gydiad cariad cu,
Fel defaid anwyl dofedd,
Ymddygiad mwynaidd agwédd,
Griftnogedd lariedd lu.
5. Lle bytho Crift ei hunan,
Tu fewn yn cadw trigfan,
Pob ffurf a threfn oddiallan fy 'n dda oll.
Ond te nid yw 'n defode,
Sy odidawg ofodiade,
Ond gwagedd megis chware campie coll,
Fe a'r cwbl ar ddiflaniad,
Pan ddelom o'r addoliad,
Di gariad fydd ein gwedd,
A Satan orfoleddus,
Yn tramwy a meddiant rymus,
Arglwyddus yn ein gwledd,
A'r diwedd fydd cynfigen,
A meddwdod cas a chynnen cyffur chwith,
Ni phrifia 'r gelyn creulon,
Er gweled gwenied ddynion,
Gnawd rhyddion yn gwneud rhith.
6. Oll cofiwn yn ddifrifol,
Am Iefu 'n Dduw mynwefol,
I'n gwared rhag annuwiol ryfyg noeth,
Hwn fydd yn bwrw Satan,
A'i holl arfogaeth allan
F-

Er maint ei rwysg a'i aflan dwrddan doeth,
Nid eill o'n hir mo'r aros,
Fo ddienga rhag ymddangos mewn diddos da,
Ni saif mewn barn yn Eon,
Ynghynulleidfa 'r cyfion,
Ar hyd union ffordd nid â,
Er hyn mae 'n llew rhuadwy,
O'n hamgylch yma 'n tramwy,
Llawer tro,
Gan geisio a allo ei lyngcu,
'D ŷm ni abal a'i wrthwynebu,
Heb Grist i w faeddu fo.
7. Nid Crist o bell i'w ganfod,
Fel delw ffurf ne gysgod,
Ond sylwedd byw 'n gwir briod yn ein bron,
Mae 'r bywyd yma 'n dyfod,
Or galon ddyfn ei gwaelod,
Duw sy 'n ei godi o geudod hanfod hon,
A'r arogl hwn o fywyd,
Yw 'r ail ddyn di frycheulyd,
Sy 'n yspryd yn bywhau,
Hwn yw 'r rhan dda ddymunol,
A'r un peth angenrheidiol,
Oen haeddol i'w fwynhau,
Hwn ydyw 'r perl puredig,
A'r trysor sy 'n guddiedig iawn i ddyn,
Mae achos chwilio am dano,
Ond Duw sy 'n ei datguddio,
Pan fynno o hono ei hun.
8. Yn hwn ei hun yn unig,
Mae gras yn gynwysedig,
A phob rhyw beth sy 'niffyg arom ni,
Hwn ydyw gwreiddyn cariad,
A ffynnon bywyd teimlad,
Trugaredd iawn weithrediad un a thri,
Y fe ydyw sylfaen heddwch,
Bodlonrwydd a thawelwch,

Hyfrydwch ſy yn ei fron,
Ag er ei ſwyn a'i erfyniad,
Yr ŷm ni 'n cael bwyd a dillad,
Haul, Lleuad, helynt llon,
Mae 'n dal i fynu 'r ſaner,
I attal barn cyfiawnder digter du,
Rhag diſgyn yn ein penne,
I dalu 'r pwyth hyd adre,
Am fynych ſeie a ſu.



## Carol Plygain ar Greeks in Troy.

### XLII.

1. YMlawenhaed pob Criſtion,
Am Iechydwriaeth dirion,
Cyd ganwn odlau cyſſon ffrwythlon ffri,
I goſio 'r dydd y ganed,
Derbyniwr i bob ened,
Mo'r raſol ydyw nodded ein Duw ni,
Mo'r helaeth yn ei roddion,
Mo'r ddidwyll ei addwydion, mo'r union yn ei air,
'Roedd arſaeth Duw yn ei ymddwyn,
Ynghrôth yr addewyd addſwyn,
Cyn geni 'r forwyn Fair,
Er hyn ordeinie 'n dyner,
Ei eni fo ynghyflawnder amſer hon,
A'i gynwys e' yn eginyn,
Cadd fagu maethu a meithrin,
Ei Brenhin ar ei bron.

2, Ganedigaeth Criſt ond chwilio,
Sy 'n amlwg wedi egluro,

Nid

Nid rhaid ail adrodd etto mo'no i'n myſg,
Ond ſynwyr i ni ſyniad,
Am achos ei ddyfodiad,
A pheth ſydd i ni ddirnad yn ei ddyſg,
Mewn cariad ei doſturio,
I achub byd ar baſio, nid i gondemnio y daeth,
Yn gyfaill pechaduried,
I arwain y rhai deillied,
O'u cyflwr caled caeth,
I roi maddeuant pechod,
I wneuthur hedd a chymmod ac Iachaad,
I ollwng carcharorion,
I droi 'r di ras afradlon i dirion wledd ei dâd.

3. Pan oeddym golledigion,
Eſtroniaid a chaeth weiſion,
Dan bwys digofaint gyfion digllon du,
Aberthodd Criſt ei hunan,
Dros bechod mawr a bychan,
I'n dwyn i'w ſanctaidd winllan gorlan gu,
Pell oeddym gwedi 'n gadel,
Oddiwrth wladwriaeth *Iſrel*,
Heb demel, heb un Duw;
Yn awr daeth mawr ymwared,
Gwnaed Criſt yn ddrws agored,
Ar lêd i'r angred ryw,
Na fyddwn anghyſurus,
Mae 'n haeddu ag awen felus ganu ei fawl,
Fod i ni fraint mo'r ddedwydd,
Dan ſêl yn Salem newydd,
Faith hylwydd y fath hawl.

4. Mae 'n rheidiol i ni yſtyriaid,
Rheolau 'r Iſraeliaid,
Yn bobl Dduw fe'u henwed hyn ſy wir,
Had *Abraham* o'r cynfyd,
Plant rhyddion yr addewyd,
Ac etifeddion bywyd, howddfyd hir,

 Gwnaeth

Gwnaeth Duw a rhain gyfammod,
Fe'u codai 'n eglwys wiwglod,
I gynal defod iawn,
A'i bresennoldeb gole,
'Ddisglaeriai drwy 'r cysgode,
Ar eu hallore llawn,
Roedd cariad priodasol,
Mwyn wiw-serch a mynwesol,
Bywiol bwys,
Rhwng Duw a'i bobl *Israel*,
Na thraetha tafod angel,
Mo'r undeb dirgel dwys.
5. Ar wir Berthynas yma,
A barodd i'r *Jehova*,
Roi ei fab fel ŷch i'r lladdfa,
Tynna twn,
Nid allai eu hanghrediniaeth,
Mo droi ei dragwyddol arfaeth,
Na thorri 'r cariad perffaith,
Helaeth hwn,
Ac er nas derbyniasant,
Mo frenhin y gogoniant,
Ond Croeshoeliasant ef,
Rhoes weddi bur wllysgar,
Am faddeu eu bai 'n fodlongar,
Ddioddefgar lafar lêf,
Nid aeth mo'i weddi 'n ofer,
Fe ennillodd ffafr a phurder dyner Duw
Fe gariodd ei waed gwirion,
Faddeuant i'w elynion mo'r raslon oedd ei ryw.
6. A'i gariad aeth ar gyhoedd,
Yn nês i bob ynysoedd,
I blith yr holl genhedloedd lluoedd llawn,
A rhain a gaent dderbyniad,
Ac fel yr Iuddewon ddwad,
Wrth alwad dan ordeiniad yr un dawn.

Dirymodd

Dirymmodd galed rwyme,
Y ddeddf a'r ordinhade,
Dileue 'r ſgrifen law,
Dattododd drwy ei farwolaeth,
Ganol-fur y gwahaniaeth,
Gan droi 'r Elyniaeth draw,
Yn awr mewn cariad ſerchog,
Mae 'n gwahodd dynion llwythog,
Dowch yn llu,
Holl gyrrau 'r byd yn gyfa,
Trowch eich hwynebau atta,
Yw cân *Jehova* cu.

7. Mae 'n daer yn gwadd pob diras,
I'r ſwpper a'r briodas,
I brofi o wledd ei deyrnas ar ei daith,
Ond daliwn etto ſulw, pa fodd mae Criſt yn galw,
Wrth ſain yr Efengyl groyw hoyw ei hiaith,
Mae 'n galw 'n ddigon eglur,
Ar bob math o bechadur er mor fudur yw,
A'r ſawl ſy a chluſtiau i wrando,
A ettyb fe dry atto, gan geiſio delio a Duw,
Ni wiw mo'r pennu opiniwn,
Na chrefydd o'r un ffaſiwn ore ei phwys,
Heb undeb perthynaſol,
A Chriſt drwy ras yſprydol,
Cred duwiol cariad dwys.

8. Am danom ni 'n enwedig,
Eglurwn ryw ychydig,
Gwag fywyd rhydd cenhedlig, ydyw 'n hoes,
Ni adwaenom fawr o ſylwedd,
Mewn rhagrith na gwirionedd,
Am grefydd enwog rinwedd oen y groes,
Er ein bedyddio i gredu,
A nabod enw 'r Ieſu a byw dan ras,
Ond gras yn fwyd profiadol,
Ni chowſom ni 'n Iachuſol,

Yn

Yn ei felusol flas,
Mae gras yn dysgu purdeb,
I ymwadu ag annuwioldeb undeb yw,
Gwna fuchedd gyfattebol,
I w proffes egwyddorol,
Lle raenio ar ddynol ryw.
9. Lle mae Brenhiniaeth Iesu,
Mae gras yn cael teyrnasu,
A'i yspryd yn diddanu teulu 'r tŷ,
Ond prin y credwn ninne,
Fod teyrnas Duw a'i freintie,
Yn y byd yma 'n unlle i'w hadde 'n hŷ,
Ond 'r eglwys lân drwy 'r hollfyd,
Sy 'n addef Crist ei 'nwylyd,
Yn fywyd iddo fyw,
Ni fedd y cywir gristion,
Na gras na gweithred gyfion,
Ond Crist, a digon yw,
Can's ynddo ef yn unig,
Mae gras yn gynwysedig gan y saint,
A phob rhinweddau dwyfol,
Fydd fywiol donie ysprydol,
Cyfrifol yw ei fraint.
10. Cymerwn Grist yn briod,
Mae pob peth ganddo 'n barod,
Ar dydd dyweddi ar ammod yn ei rym,
A gweithred y briodas,
Wedi 'sgrifennu o bwrpas,
Efengyl gair y deyrnas gore dim,
Nid yw fe 'n ceisio ganddon,
Ond enaid, corph a chalon,
Yn wael eu moddion fel y maent,
Gan bechod wedi diwyno,
Pe bae allu i ymollwng iddo,
'N glain heno fe a'u glanhaent,

Y fe yw 'r *Jorddonen* burlan,
A ylch wahanglwyf *Namaan*,
A'i gnawd fel baban bach,
A'r ffynnon lle mae rhyddid,
I bechod ac aflendid,
Fe newid glaf yn Iach.



## Carol Plygain ar Kings Farwel.

### XLIII.

1. CYN dechre amser terfynedig,
Ac adeiladu 'r byd gweledig,
Nid oedd creadur mawr na bychan,
Ond Duw 'n ymddangos iddo ei hunan,
O hono ei hun heb lun gwrth-ddrychau,
Gweledig sylwedd na chysgodau,
Fe wnae Duw Nêr, Haul, Lloer a Sêr,
A'r Peder Elfennau,
Dŵr, Tan, a Daiar, Awyr deneu,
Yn gywir iawn, a gair ei enau,
Fe wnaeth Angylion ac ysprydoedd,
Dyn, Anifail, dan y nefoedd,
A phob peth byw, yn ei ryw o amryw niferoedd,
Ac yno dweudai mai da ydoedd,
Heb athrodion i w weithredoedd.

2. Pan ddaeth y greadigaeth amlwg,
O'r mawr ddirgelwch yma i'r golwg,
Hon a gysgododd y creawdwr,
Ac a ddoe 'n llenn i guddio ei luniwr,
Pan gwympodd dyn mewn gwyn drwg anian,
Yn wael ei fytt yn nwylo Satan,

Gwnaeth

Gwnaeth hyn yn glos, i Dduw 'n ddi os,
Ail ddangos ei hunan,
Yn y cnawd a'i eni 'n faban,
Oreu gwiw-gorph o wraig egwan,
Pan ymddanghosodd llun ei berson,
Hyn oedd ryfeddod gan angylion,
Gweled gwawr creawdwr mawr,
Ar lawr daiarolion,
Gwedi diosg ei wisg a'i goron,
Yn gwisgo am dano natur dynion.
3. Fe wisgwyd Adda 'r cynta a phurdeb,
A delw Duw ag anfarwoldeb,
Gan drwm drueni gwedi ei godwm,
Aeth yn ddychrynllyd noeth a chroenllwm,
Yn wag yn adyn ag anwydog,
Heb gysgod gwisg na phais na ffedog,
A dyna lun, a delw 'r dyn,
Yn llwyd elyn llidiog,
Gan gulni enaid gwael newynog,
Yn dwyn baich du o bechod euog,
Colli ei gred mynd yn llygradwy,
Dan ei hen-gloff dynn wahanglwy,
Am fwytta o'r pren, fura fen,
Yn Eden ffynadwy,
Digofaint Duw fel tân llosgadwy,
Oedd yn ebrwydd iddo 'n wobrwy.
4. Pan ymddanghosodd yr ail Adda,
Yn ddyn tylawd ynghnawd y cynta,
Cadd wisgo ei natur noeth wradwyddus,
I fynd trwy ana ei frawd truenus,
Fe wisgai ei bechod megis lifre,
Dan wasg o ing fe wisgai ei ange,
Fe gariai ei fen, ar ei ben,
Nes mynd i'r pren, diodde,
Lle mewn gwir ffynniant y gorphene,
Godi dynion o'u cadwyne,

Pen

Pen y ſarph i lawr a ſathrodd,
A'i weithred hudol a ddatododd,
Pob brychni bron, yn 'r oes hon,
Pob pechod condemniodd,
Pob camwedd dynion a ſaddeuodd,
A nê wen gaere i ni agorodd.
5. A ddarfu i Griſt gyflawni 'r cwbwl?
Pa beth a fydd i ni etto ſeddwl?
Do, fe a wnaeth bob peth yn barod,
Ceiſiwn fyned i'w gyfarfod,
Does dim yn eiſiau o'n hiechydwriaeth,
Fe'i gwnaeth hi ei hun yn gwbl helaeth,
Ond eiſiau i ni ei chymryd hi,
I'w meddiannu 'n ddi wenſaeth,
Yn ol y gair ſy 'n dwyn tyſtiolaeth,
Ei bod hi 'n fuddiol etifeddiaeth,
Fe eill y plant afradlon cyndyn,
Drwy fawr niwaid feirw o newyn,
A bara 'n rhad yn nhŷ eu tad,
A gwahoddiad iddyn,
O's byddant feirw a galw arnyn,
O wall am borth ni eill neb wrthyn.
6. Mae Criſt trwy ſain yr ſengyl olau,
Gwelwn yn ein galw ninnau,
I'r wledd a'r ſwpper mawr a arſwyodd,
Mae wedi drwſio 'n gyflawn droſodd,
Does yno ddiffyg dim danteithion,
Ond eiſiau cael y gwaddedigion,
Pob ſeigiau ſydd, gras a ffydd,
Yn rhydd, a phob rhoddion,
Difrifwch, edifeirwch calon,
A gwiwlan ddonie i'r gwaela o ddynion,
Diddanwch yſpryd a gorfoledd,
Cariad hefyd gwir etifedd,
Pob rhinwedd dda, a'n cryfhâ,
Sydd yma 'n ddi omedd,

Bara

Bara 'r bywyd gwin ddigonedd,
A wnaed i gynnal enaid gwannedd.
7. Tra bytho dyn yn byw 'n ddieithrol,
I fywyd Crist a'i ras ysprydol,
Cynneddfau ei enaid sy yn newynu,
A chwantau 'r cnawd yn fwy 'n cynyddu,
Nid ydyw hanes Crist yn gyfan,
Ond megis synbal iddo 'n tincian,
Neu efudd glâs, floedd di flas,
Yn seinio bas, anian,
Yn mynd trwy 'r glust i mewn ac allan,
Tra byddo dyn yn un a'i hunan,
Pe caem ni 'n torri o'n gwraidd ein hunen,
A'n himpio i nôdd y wir winwydden,
Danghosai 'r ffrwyth, oedd lawn ei lwyth,
Cyn adwyth, yn Eden,
A ffrwythau 'r wlad tu draw 'r *Jorddonen*,
Yngardd yr enaid, lle mae 'r ddraenen,
8. Drain ac ysgall ffrwyth ddaiarol,
Sy 'n tyfu yn enaid dyn anianol,
Ac ni ddaw grawnwin y gwirionedd,
Oddiar y rhain sydd oer eu rhinwedd,
A pherlau Duw sydd megis lili,
Ymysg y drain mae rhain yn codi,
O'r achos hyn, cadd Iesu gwŷnn,
Heb rafyn eu profi,
A'i gywir wyneb ei goroni,
A'i uno a drain yn ei drueni,
Y pechod sy arnom ni 'n bresennol,
Drwy 'n chwantau a'n gwniau anigonol,
Fu arno 'n llwyth, a phrofai o'u ffrwyth,
Boen adwyth, benydiol,
Dyna ei elynion cryfion nerthol,
Sy 'n gosod heddyw ei farn gystuddiol,
9. Pa beth oedd *Herod*, *Pontius Pilad*,
A rhai a'i dygodd dan gondemniad?

Y dyrfâ a'u ffynn âc a'u cleddyfe,
A'r hen *Iuddewon* a'i gwatwarc,
Nid oeddŷnt oll ond ei greaduriaid,
Ac ynte ei hun am gadw eu henaid,
Faint yw ei fri, well genym ni,
A'i addoli, yn ddeiliaid,
Ac etto a'n calon yn estroniaid,
I ffordd lanwaith y ffydloniaid,
Mae yspryd Iuddew drwy dueddiad,
Ymhawb o honom heb wahaniad,
Er cael yn drist, enw Crist,
Mae anghrist yn dwad,
A dyna 'r anwir dan arweiniad,
Sy 'n caru gwadu 'r cywir geidwad.

10. Trown i lwybyr y fforddolion,
A dysgwn gân gogoniant Seion,
Disgwyliwn am y seren fore,
A gyfyd allan o'n calonne,
Y gair di dwyll yw 'r ganwyll gynnes,
Sydd am ennyn yn ein mynwes,
Daliwn hon ger ein bron,
Yn ffyddlon ein proffes,
Gan droi oddiwrth hudoliaeth diles,
Bwyd eulynnod bydol anwes,
I hyn yr ymddanghosodd Iesu,
Yn greadur i n gwaredu,
Oddiwrth ddrwg naws, pob yspryd traws,
Cawn dasg haws i'w dysgu,
Ag i fyw ynom a theyrnasu,
Boed hynny Amen, a Duw yn mynnu.



# YR AIL RHAN.

## Cerdd, ar freuddwyd y frenhines; Damheg y Winllan wyllt.

### I.

1. PAN oeddwn i ar heol,
Man dyrus daiarol,
Ar daith angenrheidiol yn rhodio,
Ces yno le hynod, i gafglu myfyrdod,
Doi allan yn gafod ag efo,
Mi welwn Winllan, maes mawr llydan,
A fafai gynt, mewn helynt wiwlan,
Gwinllan gaerog, oedd flodeuog,
Werdd fel Eden, Ardd oludog,
Perchennog hon a'i meiftyr,
Gofododd hi i lafur-wyr,
Difgwyliai doe 'r ymgleddwyr,
A'u llafur iddo 'n llwyth,
Ond etto 'r doldir oni edrychir,
Yn ffyrnig atto eiff yn goedtir,
Fe ae 'r llafurwyr yn oferwyr,
Efg lufo 'r gwaith oedd reitia ei wneuthur,
Nes mynd yn rhywyr iddyn,
A'r winllan aeth yn fydyn,
Yn wyllt na thyfai welltyn,
O i phriddyn yn ei ffrwyth.

2. Rhown olwg manylach,
'Roedd hon dir afiach,
A chwedi cau 'n fothach câs weithian,
'N llawn drain a mieri, boncyffion braiglwyni,
Tebyccach i gelli na gwinllan,

Edrychais etto, 'mhle roedd yno,
Y llu arferent ei llafurio,
Doen ar fy nghyfer, wrth eu harfer,
Gan dawlu eu hadyd ar llawn hyder,
Yfgeler oedd difgwiliad y doe fo byth ar dyfiad,
Am nad oedd rhŷch chwyfiad mewn toriad yn y tir,
Er hyn parhau, wnae rhain i hau,
A llywio llyfnu i'w wellau,
A'r tir yn berthen, mo'r aflawen,
Na finniai dannedd ôg mo'i donnen,
Pe llyfnei hwn gan 'mlynedd,
Dan ogau dyna wagedd,
Llafurio mewn oferedd,
A chael anhunedd hir.
3. Wrth lyfnu 'r tir anial,
'Nhwy ddweudent yn ddyfal,
A'u cân oedd yn amal, fel 'n yma,.
Pe tyfai 'r hâd hefyd, o'r winllan wenwynllyd,
Doe ddigon o buryd a bara,
Ynddi gwreiddie, pob rhinwedde,
Dail goneftrwydd arwydd ore,
A gwir gyffurie, cydwybode,
Planhigyn cariad yn ei flode,
A llyfie pwyll a phurdeb,
Dail fobrwydd a doethineb,
A ffrwythe pob duwioldeb ffyddlondeb yn ei le,
A phawb yn canmol, y gerdd dduwiol,
Dyna ganu da digonol,
Gwir yw 'r geirie eber finne,
Ond pam na 'r loefwch i 'r ardd lyfie?
A'i 'mhlith twmpathe eithin,
Daw gynydd da eginyn,
A'i yn y drain daw grawnwin?
Yn gyfin ow! nag e'.
4. Clywn alwad yn fuan,
Ar eraill oddiallan,

O Dowch

Dowch chwithe i'r ſaith winllan ſethianllyd,
A nhwythe yno 'n ſefyll,
A r galwad yn crybwyll,
'Roedd ganddo gwyn ddidwyll gan ddweudyd,
Dowch braenerwch, ac na hauwch,
Fel y rhain mewn drain a dryſwch,
A'r gwyr yn dwad wrth y galwad,
Symbylu eu hire a hwylio eu harad,
Eu hedrychiad oedd gyfflybieth,
I arddwyr tir er toreth,
Mi dybiais o'u gorchwylieth,
Doe drinieth ar y drain,
Gwaeddi allan, twrw' taran,
Rhoi amal ſonllef yn y winllan,
Gafaelu 'n filen, codi 'r wialen,
A dechre turio drwy bob tarren,
A'u Hychen wedi hawchio,
Yn gryfion i lafurio,
Er hyn mae natur rhuthro,
A rhuo yn y rhain.
5. Pob un yn ymboeni, dal yn y tew lwyni,
A'u gweddi yn y treſi 'n petruſo,
Does arwydd y gwelir y maes yn llafurdir,
Neu 'r erddir o'n ydtir iawn etto,
Pe tyfai 'r hade, meddai nhwythe,
Teurai 'r gwyr doe 'r tir ar gore,
I'e pe tyfe, frwyn ar frynnie,
Heb wlybaniaeth wrth eu bone,
Fe fydde 'r fath ryfeddod,
Na fu, ni fydd i ddyfod,
Nid yw had da 'n dygymmod,
A hynod le fel hyn,
I dir di doriad di fudd dyfiad,
Nid gwiw gyrru ôg nag arad,
Ych nag aſyn, march na milyn,
Mewn dyruſgoed ni oreſgyn,

Fyth monyn heb gymynydd,
A bwyall ar eu ysgwydd,
I dorri gwraidd y cedrwydd,
A chwalu 'r aflwydd chwynn.
6. Pob gwaith a phob amcan,
Sy i weithwyr y winllan,
Ag amser o's mynnan hwsmonaith,
Y fwyall yn gynta ydyw 'r offer hwylusa,
I dorri 'r coed yma i gyd ymmaith,
Ac ennyn tân, i'w llosgi 'n lan,
Oll hyd y maes yn lludw mân,
Heb ddifa 'r gwraidd, pwy fyth a faidd,
Hau yno Wenith, Rhŷg na Haidd,
Tymhoraidd yw tymheru,
Y tir yn glir i'w arddu,
Cyn troi na hau na llyfnu,
Chwi wyddoch hynny 'ch hun,
Ar ol llosgi 'n llwch, y drysni 'n drŵch,
Troi 'r cleddyf dur i wneuthur sŵch,
A'r waywffon, trowch plygwch hon,
Yn bladur at y llafur llon,
Achosion fydd i'w cheisio,
Mae 'r tir yn siwr o gnydio,
Daw nerth yr ŷch ag efo,
Lle tynno gwedd gydtun.
7. Edrychwch ar hwsmon,
Sy 'n trefnu ei orchwylion,
Gan hwnnw mae llownion winllanoedd,
Ei dir a lafuria, digonir e' o fara,
'Does eisie yn ei gylla na'i gelloedd,
A hauo ei hade, ar draws carnedde,
Cyrre anialwch mewn cornele,
Mae 'r drain yn tagu peth i fethu,
A'r llall yn deifio cyn addfedu,
Ac fellu darfu ei gyfri fel gwellt pen tai 'n dihoeni,
Pladurwr ni all ei dorri, na'i fedi i lenwi ei law,

Nid wyfi ond crybwyll, y ſtât erchyll,
Mae 'r maes ofer yma 'n ſefyll,
Pan ddoir i'w ganfod, pawb a ddannod,
Eich bod chwi 'n tylu n Hwſmyn tafod,
A ffonnod, main effynne, fe'ch curir gan ſâch gorrie
Cân baban bloeſg ei bibe,
I'ch bronne och! a braw.

8. Tra chyndyn a chandryll rwi'n dwad yn dywyll,
Ym mhob dull yn cynnull f' amcanion,
Er gwaeled y gelfydd, mae rhyw beth yn rhybudd,
Mewn cerydd o ddeunydd i ddynion,
Mae 'r Winllan ddyrus, yma 'n cynwys,
Yſtum trigle ſtât yr eglwys,
Hanner clywed, gair agored,
A ddeuall call a'r llall ymholed,
Na farned neb yn fyrbwyll,
A ddweuded yma 'n ddidwyll,
I guro rhai'n ag eraill yn ffrewyll i ddeffroi,
Y rhai ſy 'n yſtig lyſnu 'r goedwig,
Fel cynnar adar cyn aredig,
A'r lleill ſy 'n dwad yno a'r arad,
Cyn arloeſi 'r dryſni cauad,
Er Argyhoeddiad iddynt, mae yſtyr hyn o deſtyn,
Nid eill cydwybod undyn, orafun i mi roi.

9. Pa 'r achos damhegion cwmpaſog ſadroddion,
Na ddodid gwir union yn gryno?
Y ſain yma ſy 'n amal,
Cyn hyn wedi eu cynnal,
Ni ſynnant ymattal ddim etto,
Pan droir yn ol, gan rai di rol,
Y farn a fo 'n eu ffeindio 'n ffol,
Cyfiawnder ffraeth o hirbell aeth,
Damhegion ſydd ymhig ei ſaeth,
A chwlwm caeth a chaled, penodi 'r un a'r aned,
Ty di ydi 'r gwr a ddalied,
Yn tynnu 'r weithred hon.

Sylwedde ysprydol, sy 'n ddieithrol,
Heb gyfflybiaethe llunie allanol,
Nid wrth olygus ddrŷch yr eglwys,
O'r tu allan i'r deuallus,
Rwi 'n cynwys hyn mewn caniad,
Am Winllan wyllt ei thyfiad,
Pob un a'i gwel sy a llygad,
Gwir brofiad ger ei bron.



## Cerdd o gwynfan at blwyfolion Llangollen, dros *Simon Thomas* oedd ynghharchar yn Rhuthun: I'w chanu ar Spanish baven.

### II.

1. CANU ar awen cwyno rwi,
O'm gallu bloesg i Gollen blwy,
I'r neb a fynno o honynt hwy,
Waeth genny at bwy rwi 'n danfon,
At un neu fwy, at ddau neu fil,
O'r gwyr grymmusa, haela hil,
A agoro ddrws trugaredd cil, eu calon.
2. A dyma 'r cwyn ni wna'i mo r cêl,
Mi a'i dweuda 'n ddwys a doed y ddêl,
Dros *Simon Thomas* sy yn y jêl,
Yr wyfi 'n uchel achwyn,
A llwm yw 'r gŵr, mewn lle mo'r gaeth,
A chyfri leied drwg a wnaeth,
Byfeddu rwi par fodd yr aeth o i Ruthun.

3. Carcharu gŵr mae 'n chwerw ei gân, } *llwyth neu*
Am ſaw moch neu ſeie mân, } *ddau o*
Roedd hynny 'n dangos angerdd tân, } *dail moch*
Cynddaredd anian ddiras, } *oedd dech-*
Gwreichionen oedd yr achos mawr, } *reu 'r*
Sathraſai brodyr hon ar lawr, } *cweryl.*
Ond rhwng gelynion hi aeth yn awr yn eirias

4. Dowch a rhowch eich pennau ynghyd,
Fel union frodyr yn un fryd,
Na adawn mo n gwladwr yn y glud,
Dan benyd caeth-ſyd cethin,
O s gellir trugarhau yn r wydd,
I dynnu o'r llid y dyn er llwydd,
Heb wyro cyfraith breiniol ſwydd y brenin.

5. Trugaredd wrol frawdol fryd,
Sy 'n paſio 'r ſarn gadarna i gyd,
Ped ſae ni n arfer hon o hyd,
Ae 'r byd fel pryd paradwys,
Arfer Criſt oedd trugarhau,
Wrth garcharorion a u rhyddhau,
Diddanu 'r lleſg ac eſmwythau 'r caethiwus.

6 Am wrando 'n ſwyn ar gwyn y gwan,
O'i garchâr fyth a'i gyrchu o'r ſan,
Mae Duw 'n cymheryd hynny o ran,
Hyd heddyw i'w anrhydeddu,
Am drugarhau drwy gywir hêdd,
Rhoi llaw i r gwag a'r lloerig wêdd,
I mi fy hyn y rhoeſoch medd yr Ieſu.

7. Nid trwy rŷm y gyfraith gre,
Dan wybr wen 'r â neb i'r ne,
Mae 'n rhaid i'r Efengyl gael ei lle,
Sy 'n yſtyr madd n waſtad,
Madde ein dyled galed gur,
Fel yr ŷm yn madde i n dyled. wŷr,
Dyna iaith yr Efengyl bur ei bwriad.

8. Pwy

8. Pwy fydd etto 'n delio 'n dynn?
A maddeu i'w frawd, tlawd ni fynn,
Mae 'n dweud yngweddi 'r Iesu gwynn,
Gwna di fel hyn a'm finne,
Erfyni ar hwn am fadde 'n rhôdd,
A'th waith dy hun y dyn a'th clôdd,
Nad oes i'r Arglwydd union fôdd i fadde.

9. Darllenais yr Efyngyl wenn,
Am ferenin llŷs ne ryw ŵr llenn,
A rhyw ddyledwr mawr dros benn,
Yn haeddu fenn oedd ganddo,
A hwnnw 'n drift o'i flaen a drôdd,
Maddeue 'r brenin iddo o'i fodd,
Pan nad oedd gando ddim a rodd, o'i 'r eiddo.

10. A hwu mewn ango gwallgo a gwŷn,
Aeth at ddyledwr iddo ei hun,
Dechreue daro a dwrdio 'r dyn, modd dygyn a'i lindagu,
A hwnnw ymbilie a'i ddwylo 'mhlêth,
Gan gwyno ei fod a'i fyd ar feth,
Ow! aros nes y delo beth, i dalu.

11. A'r gŵr anghofus ffroftus ffraeth,
Gwrando ar gwyn ei frawd ni wnaeth,
Ond mynd a'i roi mewn carchar caeth,
Wrth gyfraith helaeth holiad,
Ymddigiai 'r brenin ynddo ei hun,
Pan glywodd beth a wnaethai 'r dyn,
Fe'i barnodd ynte dan yr un, gondemniad.

12. Fel ag y gwnelo dyn ar dir,
Y gwneir ag ynte cyn bo hir,
Fel y mefurwn ni yma 'n wir, yr ail fefurir i ni,
O's calon galed genym fydd,
Pan ddel cyfyngdra dua dydd,
Cul adwy farn, caled a fydd, Duw celi.

13. A'r gŵr trugarog enwog un,
Y mae trugaredd Duw 'n gydtun,
Ond ydyw hwn yn dweud ei hun,

A'r cyndyn, mi 'm gyndynnaf,
Ac am y truan medd Duw tri,
Sy 'n crynu dan fy ymadrodd-i,
Wrth hwnnw mewn diftyrwch mi, dofturiaf.
14. Cofiwn weifion ufudd Duw,
Gore eu gradd goreurog ryw,
*Abraham*, a *Dafydd* wiw, *Job*, *Lot*, a'r cyfryw ddynion,
*Zacceus*, *Cornelius*, *Peder*, *Paul*,
Rhoent fiample da mewn rhwydda rhol,
Fel y canlynem ninne eu hôl, nhw 'n union.
15. Mae 'r gair am *Enoc* eglur yw
Ei fod e'n rhodio gyda Duw,
A *Jeremiah* 'r prophwyd byw,
O feddal ryw oedd rowiog,
Un *Enoc* a *Jeremia* ei fab a rodd y dyn yngharchar.
Nid ydyw 'r fgrythyr mewn un mann,
Yn dweud i rhain garcharu 'r gwann,
Mewn garw nŷch na gwyro 'n anrhugarog.
16. Ond gwell y calyn ffordd y rhain,
Na dewis cynnen llwybr Cain,
I fagu hen gynfigen fain,
I'n brawd ein hunain heno,
Sail y prophwydi bod ag un,
Yw câr dy gymmydog fel dy hun,
Ac os cyffry gwyn na chwfg un hun, yn honno.
17. Y Prophwyd *Jeremi* profi a wnâ,
Yn erbyn blin gyndynrwydd blâ,
Medde am rai cyndyn a neccâ,
Mai 'r fath gyndynna oeddent,
Fod ganddyn dalcen putten wraig,
Gwynebe a gruddie fel y graig,
A fugun laeth didennau 'r ddraig a dynnent.
18. Er hyn 'roedd Duw yn trugarhau,
Pan fydde rhai'n yn meddalhau,
Pan fyddai *Pharo* yn ei goffau,
Fe barai i'r noddau beidio,
Mae 'n pechod ninne a'n beie 'n bwys,

Rhaid

Rhaid i ni gael maddeuant ddwys,
Gwell i ni bawb cyn mynd i'r gwys ei geisio.
19. Wel bellach garedigion glân,
Ystyriwch gwynion hyn o gân,
A gwnewch eich gore o fawr i fân,
Er mwyn y truan treiwch,
I gael o'n rhydd mae 'n brudd mewn brad,
O'i chwerw loes dowch wyr ei wlad,
Egniwch beth i wneud llesad 'n arswydwch.
20. Gormod gwradwydd cwilydd cawn,
Fod yma 'r fath elyniaeth lawn,
Carcharu dynan egwan iawn,
Medd rhai 'n anghyfiawn hefyd,
Ni ydyw 'r gŵr na llofrudd gwaed,
A lledrat ganddo chwaith ni chaed,
Dyled ni fasai o'n traha wnaed yn ehud.
21. Ac os dyledwr mae 'n dylawd,
Ar ol carcharu braenu brawd,
'Chan nhw am eu poen, ond croen a chnawd,
A drygair gwawd, y gwledydd,
Nid ydyw 'r golled sydd yn eich cod,
Ond bechan iawn wrth golli 'ch clod,
Gan Dduw a dynion dyna nôd, anedwydd.
22. Fe dalai 'r dyn ped fae 'n rhydd,
Yn ara dêg o ddŷdd i ddŷdd,
Ni thâl o byth o yno bŷdd,
Mewn cwlwm cystudd caled,
Peidiwch chwi a delio 'n dynn,
Ped fae fo 'n talu ond hyn a hyn,
Cewch gyflawn dal gan Iesu gwyn gogoned.
23 Fe dâl yr Arglwydd meddwch chwi,
*Hol.* Ni thâl e' ddim o'm harian i,
Nid fellu gwneir y dyn yn ffri,
Wrth union gyfri 'r gyfraith?
O's methwch chwi wrth y gyfraith gael,
Bodlonrwydd

*Att.* Bodlonrwydd cyfa mwya mael,
Fe dal yn ol yr Efengyl hael yn helaith.
24. Ni welai 'r un gyfraith yn ei gau,
Ond drwg ewyllus un neu ddau,
Mae 'n fawr nad ellid trugarhau,
I' ddattod barrau byrrion,
O's oes drugaredd yn y wlâd,
A bwyfa un o'r mwftard hâd,
Rwi n difgwyl fymud a rhyddhâd i Simon.
25. Oes yma neb mewn tre na llan, o natur y *Samari-* [*tan*
A wrendi 'n fwyn ar gwyn y gwan,
I wneuthur rhan cymmydog?
Ped fafe modrwy aur am ei fŷs,
Ac arian lafie ar gyrre ei grŷs,
Fe gowfai ei gyrchu o'r gwarche i lŷs, luofog.
26. Fy ffryns a'm glân gymdeithon ffri,
Beth bellach ydyw 'ch rhefwm chwi,
Oes çenad iawn i'm caniad i, y leni gael cyflawniad,
Na thybiwch fod yr Efengyl wen,
Yn beth i chwerthin am ei phen,
Mi roes i chwi yma lawer fen, i'w fyniad.
27. Yftyriwn araith helaith hon,
A gwiliwn dwyll y galon donn,
Mae 'n gofyn cariad pur o'n bronn,
I rhai fy elynion i ni,
Yn ol yr Efengyl oni wnawn,
Arni 'n dyft pam y gwrandawn?
Mae 'n fylwedd pob trugaredd dawn, daioni.
21. Nid oes gan i i'w wneud o'n rhydd,
Yr un awdurdod ond fy ffydd,
A'm gweddi ar Dduw a dynion fydd,
O allu ag ufudd wllys,
Trown drugaredd at ei gri,
Yn ol Athrawiaeth un a thri,
Fel ag y mae 'n harogliad ni 'n yr eglwys.

29. 'Rŷm

29. 'Rŷm ni yno ar ein glinie 'n glau,
'N gweddio ar Dduw am drugarhau,
Wrth bawb sydd mewn caethiwed cau,
A blin garcharau, chwerwon,
Mae hyn gan siwred i ni a sêl,
Na wrendi 'r Arglwydd ond a wnêl,
Yn ol ei weddi 'n wir ddi gel, o'r galon.

30. Wel dyma le i wneud gweithred dda,
Tosturio wrth gulni cledi 'r clâ,
Mi wn pwy bynnag ŵr a'i gwna,
Llaw Dduw a nertha ei wrthie,
Gwnewch yn ffest eich cwest a'ch cwŷn,
A cheisiwn etto oddiyno ei ddwyn,
Y chwi yn y farn a chanu 'n swyn, wna finne.

Trugaredd ei chyrredd ni chawd.---Er cwynfan,
Er canfod ei nychdawd,
Roedd perffaith gariad pur-ffawd,
Yn rhy brinn i'w rhoi i'w brawd.

---

## Cerdd yn datgan am ddaioni Duw yn nhrefn ei ragluniaeth, ac yn hyttrach, yn anfon ei fab yn iechydwriaeth dynol ryw; ac mo'r angenrheidiol bod mewn undeb yspryd ag ef, ac nad ŷm ni ond llwyr druenus *hebddo* ef, *ond ynddo* ef y *gallwn* ni *gyflawni pob peth*, i'w chanu ar *Dol Bel*.

### III.

1. CAN, cân, a gweddi hefyd heb wahân,
A ddylid gloi 'n addoliad glân,
I'n tarian Dduw a'n tŵr,

Swydd

Swydd angenrhaid pob enaid byw,
Deunyddio 'r dalent a rodd Duw,
Pob dawn a rhinwedd weddedd wiw,
Sŷdd anwyl rodd i ddynol ryw,
Cyfraniad aberth eurwerth ŷw,
O's bydd Duw yn caniadhau,
Ei ddoniau ei hun i ddyn i'w hau,

2. Iôr, iôr: Creawdwr nef a thir a môr,
Mae ganddo i ni dosturi ystôr,
O'i drysor sy 'n ddi drai,
Fe roes ei fab o'i fynwes glyd,
Er mwyn dileu pechodau 'r byd,
Yr hwn a'n prynodd oll mewn pryd,
Trwy ofid trwm a'i fywyd drud,
Pob peth anghenrhaid i ni o hyd,
Pob rhybudd teg i'n parodtoi,
Er mwyn ei ras y mae yn ei roi,

3. Mawr, mawr: yw 'n trugareddau ninnau 'n awr,
Duw sy a'i haelioni 'n llenwi 'r llawr,
Mo'r werthfawr yw ei waith,
Mae gennym brawf o hyn mewn bri,
Fod ein rhoddion heb ddim rhi,
Fel y mae llanw 'r mo'r yn lli,
A phawb yn syniad yr un si,
Mai Duw trugarog i'w 'n Duw ni,
Daioni yw hyn fod Duw 'n ei hau,
A ninneu o hyd yn ei mwynhau.

4. Down, down: I garu gwledd y gair a glown,
At brofiad dyfnach trymach trown,
A gwir ddeffrown ar ffrwst,
O'n bod yn canmol cymmaint yw,
Ei drugareddau goleu gwiw,
Ond pa drugaredd ryfedd rŷw,
Sydd fwya dwys ynghyfri Duw?
Mi wn yr ettŷb pob dyn byw,

Mwya

Mwya trugaredd 'dan y ne;
Oedd roddi ei fab o'i 'eiddo fe,

5. Gwir, gwir: a weddai ei gloi a'i adde 'n glir,
Hon ydyw r fwya ar for a thir ag ellir fyth ei gael,
A gawn ni holi i brofi ein bron,
Oes genym ni fwynhad o hon?
O gilai gwraidd y galon gron,
Yn rhoi i ni faeth a lluniaeth llon,
Yn ein cryffau fel cywir ffon,
Ac nid ymhell tu draw i'r bedd,
Ond yma 'n wlith o dwymyn wledd.

6. Nes, nes: nid yw 'r anwydog er bod gwrês,
Ymhell oddiwrtho a thân a thes,
A rhai 'n cael lles o'u llwydd,
Faint ydym ninnai nes yn awr,
Er dyfod etifeddiaeth fawr, i aneirif lu o'r nef i lawr,
Sef i'r ffyddloniaid euraid wawr,
A ninnai 'n llyrfion ar y llawr,
Bodloni ac oedi hebddi o hyd,
Tan a roi r barn i'n tynnu o r byd,

7. Un, un: Mewn criftion byw yw Duw a dŷn,
A gras da helaeth Crift ei hun,
A'n gwna 'n gydtun a'n tad,
Fel hyn mae 'r enaid yn mwynhau,
'N meddiannu ac yn glynu 'n glau,
Ymreintiau Seion trwy nefau,
At ei cheidwad i'w hiachau,
A chywir ffydd yn ei chryffau,
Cyn torri 'r goftrel bridd ger bron,
Cyn ymbellhau o r babell hon.

8. Prŷd, prŷd: i ni fwriadu mewn un fryd,
Cyn mynd i r farn o hyn o fyd,
Briodi 'r nwylyd nêf,
Od oedi wnawn nid ydym nês,
Cynghorion ac arwyddion rês,
I'n mawr wellhau ni wna 'n mo'r lles,

Pregethu

Pregethu gwraidd y gair mewn gwres,
Wedi iddo egino 'n deifio ar des.
Ni ddaw mo'r ffrwyth i fynu 'n ffri,
Heb Grist ei hun yn un a ni.

9. Efe: a'i gnawd ysprydol nodol nê,
Yw 'r tir daionus lwccus le, i gario hade 'r gair,
Mae 'n derbyn y gorchymmyn sydd,
Am garu Duw a dyn bob dydd,
A'n holl elynion yn ddi ludd,
Am edifeirwch ac am ffydd,
Oddiwrth y rhain fe a'n gwna ni yn rhydd,
A'r deddfau moesol syniol sain,
Er cyd eu rhif mae 'n cadw rhain.

10. Dŷn, dŷn: A gais wneud llawer rhith a llun,
I ffri gyflawni rheini ei hun ni wnaeth yr un erioed,
Nid ynom ni na dim a wnawn,
Mae cariad brawdol dduwiol ddawn,
Ond yn y cywir hwn y cawn,
Wir frawdoliaeth hyfryd iawn,
Mae 'n Harglwydd nêr yn llester llawn,
O olew cariad heb laccau,
O's ynddo glynwn heddyw 'n glau.

11. Siwr, siwr: Di ammeu ar goedd, mai dyma 'r gŵr
Sy ag yspryd barn yn gadarn dwr,
Egorwr ar y gair,
A thrwy fod yma 'n benna 'n byw,
Yn ei yspryd gwynfyd gwiw,
Y mae 'r pechadur gwael ei ryw,
Yn wneuthurwr ar air Duw,
O hono ei hun y dyn nid yw,
Ond cyfrifedig ynddo fe,
A wnaeth gyflawniad yn ei le.

12. Un, un: O honom ni yn ein hanian wŷn,
Ni char gymmydog fel fe ei hun,
Wrth dêg orchymmyn Duw,
Amhosibl yw yn ein golwg wan,

Mae

Mae 'r gair mo'r gry 'n ein tynnu tan,
Y tonnau rhwyſtrau ſy yn ein rhan;
Er hyn mae 'r Arglwydd ar y lann,
A thrwy fod ynddo yn impiau plann,
Mae 'n boſibl yma gyda ge,
Gywiro 'n lân y gair i'w le.
13. Llêf, llêf: ei air ſeliedig unig ef,
Fo i'n hargyhoeddi ni 'o'r nef,
Yn gyfraith gref ei grym,
Fel y bo ni 'n rhowiog i barhau,
Bawb yn ein hoes ac heb wanhau,
Drwy unfryd clos frodorion clau,
A'n dwyn i'r undeb dan yr iau,
A rhwymyn cariad yn ein cau,
A beunydd bod yn byw 'n ddi ball,
Oll er llês y naill i'r llall.

*Y gan hon a wnaed gyntaf i gymdeithas clwb, blwyddyn, 1771. Ac all fod yn berthynol i bawb yn gyffredin.*



## *Un arall o'r un ddull a'r un meſur.*

IV.

1. MAITH, maith: Yw gair o wir o gywir iaith,
Mewn barn a grym heb arno graith,
Yn lanwaith yn ei le,
Am y gynulleidfa llonna ei llun,
Sy 'n byw dan enw bod yn un,
O'r ſwm nid oes un perſon dyn,
O honi ar ei ben ei hun,
Yn iach yn glâ mae 'r cyfa ynglun,
A chwedi addunedu i'r nôd,
Ac ymgyſylltu ſellu i fôd.

2. Clau, clau: A da ydyw rhwymiad i barhau,
I gynal gweniaid sy 'n llesgau,
A henaint brau ddaw 'n brudd,
A hyn sydd lafur yn ei le,
I'w gludo wrth raid mewn gwlad a thre,
Y llês a wnawn oll îs y ne,
Ond llês ryw ddŷdd a fŷdd efe,
I'n dal ar graig fel adail gre,
Y peth a hauo dyn a fêd,
O's da yno rown, da i ni rêd.

3. Hyn, hyn: a ellir ddirnad fyniad fynn,
Gwedi hau, daw efrau, a chwŷn,
Ar lawer tyddyn têg,
Er ceisio trefnu naddu nod,
Erthyglau glan wrth eglur gl d,
Mae llawer twyll ddi bwyll yn bôd,
Yn Diwyno rheini dan y rhod;
Temptasiwn poeth yw cyfoeth côd,
Rhaid fod yn ddoeth, a farno 'n dda,
Yn wych a chlos, rhwng iach a chlâ.

4. Hawdd, hawdd: yw gwyro barn a thaflu i'r clawdd
Gyfiawnder pur, wrth wneuthur nawdd,
Ac anawdd nâg i gwyn,
Mae achos clir i'r iach a'r clâ,
I gario nôd cydwybod dda,
Hon yn y farn a'n cadarnha,
Fel mil o dystion i ni gwna,
O's cywir fydd hi a'n cryfha,
Ne o's euog yno y sai,
Yn dostur bwngc i dystio 'r bai.

5. Gall, gall: fod genym wydd o'r wir ddi wall,
A'r bapurun heb ddim pall,
I'w deall yma n dêg,
Nid ym ni haws er dim wna hon,
Heb wyddor briod yn ein bron,

A atteba i lais cydwybod lon,
I gilio 'r dwyll o'r galon donn,
Wrth ei phwys a nerth ei ffon,
Gwnae hon gyfiawnder hyd ei bedd,
Heb wyrni o hyd a barn a hedd.

6. Braw, braw: fod cymmaint llu'yn rhwymo ei llaw
I wneud cyfiawnder oddi draw,
Yn hylaw ag yn hardd,
Mae 'n brudd eu gweled braidd y gall,
Y naill ymddiried dim i'r llall,
Na raid yspio a gwilio gwall,
Diben moel, drwg dybiai mall,
Pa beth sy 'n peri cymmaint pall?
Ond eisiau bod erthyglau byw,
Tu fewn a deddf i ofni Duw.

7. Gwnae, gwnae: Egwyddor bur ei gwedd pe bae,
Wregysu o'n cwmpas megis cae,
I'n gwarchau yn y gwir,
Mae Angel Duw fel magwyr gre,
O amglych pawb a'i hofnant e'
Fe'i ceidw 'n lluoedd yn eu lle,
Yn wirion iawn dan awyr ne,
'D rhaid iddynt foddion ond efe;
Ni cheiff un gelyn byd na chnawd,
Mo'r dallu eu bron i dwyllo brawd.

8. Dyn, dyn: Sy a'i natur wedi llygru ei llun,
A'r hen egwyddor sy ynddo ynghŷn,
Yn ddrwg ei gwŷn a'i gwedd,
Mae 'n addunedu lawer gwaith,
A'i law fe rydd ar ddolen fraith,
Er hyn mae ei feddwl yn rhy faith,
Nid edwyn mo'no ei hunan chwaith,
Yma ar dir ni wyr mo'i daith,
Ni chwbwlha mewn gyrfa gaeth,
Mo'r addunede yn ole a wnaeth.

9. Down, down: yn ol a welwn ac a glown,
I ſynio am ras, i hyn ymrown,
A gwir ddeffrown yn ffri,
Daw r holl bregethe gore gwir,
Yn' dyſt i'n herbyn cyn bo hir,
Cyfiawnder clau ſynn fatter clir,
Mae ei fwyall ar bob cangen ir,
Tyrr hon a' fo 'n diffrwytho 'r tir,
Ffown ymmaith rhag y llid a fydd,
I'r ddinas noddfa redfa rydd.

10. Cawn, cawn: Ddyſgeidieth ymhob peth a wnawn
Defodau 'r wlad, fydd i ni 'lawn,
Athrawieth iawn a thêg,
Mae llyfre 'r clwb a'u llafur clau,
Yn gofyn gennym eu glanhau,
Dibennu 'r cyfan heb neccau,
Mae hyn i'n fforddio ni i goffau,
Am lyfr y bywyd ſy i barhau,
Ond yw fe 'n gofyn Duw a'i gŵyr,
Gael ar ein llaw ei glirio 'n llwyr.

11. Pwy, pwy: A ddichon etto glirio ei glwy,
Na thalu hatling-fach neu ddwy,
Yn wobrwy am ei warth?
Nid oes enaid, nag oes un,
A dâl ddyledion ddyfnion dyn,
Ond fel y cymrodd Duw 'n gydtun,
Fodlonrwydd gan ei fab ei hun,
Hwn yn ei loes a'i waedlyd lun,
Gâdd dalu 'r ffyrling eitha 'n ffri,
I glirio 'r llyfre yn ole i ni.

12. Hyn, hyn: Sy i'n hargyhoeddi o'n ſyrthni ſynn
A'n hyſu i garu, ein hieſu gwyn,
A gwneud a ſynn efe,
A dyna 'r diben mawr y daeth,
I oddef cerydd cyſtudd caeth,
Ei hun yn batrwm i ni a wnaeth,

O gariad gwresog serchog saeth,
Cyfrannai ei fywyd i ni 'n faeth,
Er mwyn i ninne ymuno 'n iawn,
Mewn undeb a ffyddlondeb lawn.

13. Clyd, clyd: yw gweled brodyr yn byw ynghyd,
Gan mo'r wasgarog ydyw 'r byd,
Mewn ofer ynfyd nwy,
Mae 'r Arglwydd Iesu 'n casglu ei blant,
Fel iar ei chywion oreu chwant,
Dan aden cariad syniad sant,
I'w mysg ni thrig, na dig na dant,
Dôn yn un gŵr ped sae nhw 'n gant,
Boed fellu bo 'r gymdeithas hon,
Dan enw brawd yn un eu bron.



## Carol tan bared, yn dangos allan ddieithred yw cariad brawdol; ar *Farwel Ned Pyw.*

V.

1. GWrandewch gyffesiad i'w goffau,
Pob un sy 'n glau am glywed,
A gwan gynghanedd, sylwedd sâl,
Yw hon o's tal ei styried,
O's tal ei hystyr difyr dw,
Hi dal ei chadw ychydig,
Am annerch wael cymmerwch hon,
Neu rowiog lon galennig,
Pan oedd yn flodeuol,
Y grefydd gristnogol,
Yr achos dechreuol, o'r caniad arferol,

Oedd cofio 'n gymmwyfol am Iefu,
Tra cadwyd gwirioned,
Mewn fel am ei fylwedd,
Bu 'n felus orfoledd, nes dwad o'r diwedd,
Oferedd gwael egredd i'w lygru.
2. Cann gwylie a fydde 'n fawr,
Mae hynny 'nawr yn oeri,
A drwg arferiad gwlad a thre,
Sydd yn ei le fo'n codi,
Mwy falchder trawfter trais,
A mwy o lais cynfigen,
Diffodd canwyll ffrewyll ffraeth,
A chynne gwaeth gwreichionen,
Pob anian drygioni, 'n amlhau mewn rhifedi,
A chariad yn oeri, a'r ddaiar yn llenwi,
O ffrwythe trueni trwy anwir,
Heb fawr yn yftyriol,
O'r peth angenrheidiol,
Ond byw yn anianol,
A gwneud fel arferol,
O's bydd yn anrafol ni rufir.
3. Fel hyn o hyd mae 'r byd yn bod,
Er maint fy o ddannod i ni,
Da ydyw 'r da pob dyn fy 'n dweud,
A drwg i'w gwneud drygioni,
Mae rhefwm dynion yma ar dir,
Yn adde 'r gwir agored,
Ond natur amur fegur fwrth,
Sy 'n gwyro oddiwrth y weithred,
Pob gradd a chenhedleth,
Sy 'n canmol brawdolieth,
Fod cariad pur berffeth,
Yn well na Brenhinieth,
Does un etifeddieth mo'r fuddiol,
Pan eler i chwilio, mhlith dynion am dano,

Ni welwn ni mo'no, ychydig wrth dreio,
O hono fudd yno 'n feddianol.
4. Eſtronedd alltud yn ein gwlad,
A'n bro 'dyw cariad brawdol,
Prin y gwelir ol ei droed,
Ni bu fe rioed mo'r reidiol,
Er bod etto ymbell un, yn paentio ei lun o'i lynu
Yn eu gwleddoedd union glod,
I'w faner fod i fynu,
Ond be dal llun arian,
Na phrŷn ac na werthan,
Ne ddelw merch wenlan,
Wrth geiſio iddi guſan,
Fe dwylle un ei hunan a honno,
Ac etto ni chymrwn,
Mo 'n twyllo deuallwn,
Am olud a welwn,
Y bai pan wybyddwn,
Gwrthodwn nis mynnwn ni mo'no.

*Picture of a pretty Girl.*

5. Cyn pwyſo 'r aur mewn gwlad a thre,
Pob un a'i gyrre i gerdded,
I ffwrdd yr aen heb hwi na herr,
Yn burion er eu byrred,
Ar ol eu pwyſo a'u cael yn brin,
Er henw 'r brenin hynod,
Gwrthodau pawb y gini bâch,
Cae ei alw 'n wrâch eurychod,
Pe codem i'r fantol, wir grefydd yſprydol,
A chariad pur brawdol,
Y wanna o blu 'r wennol,
Sydd fwya pwrpaſol i'w pwyſo,
Mae rhain yn y clorian,
Yn llai na 'r aur bychan,
Ni fedd y wlâd lydan,
O gariad pur anian,
Ond tippyn tu allan i'w twyllo.

 6. Gwir

6. Gwir gariad brawdol medd rhyw un,
Sydd orc i ddyn feddiannu,
Ond ydyw hwn i'w gael yn rhad,
Pa beth a nad ei brynu?
Os mynnwn brisio werth o'n iawn,
Diame cawn ni gostio,
Cybydd-dod, balchder llawer llun,
O eiddo dyn am dano,
Cynfigen a males, cyfrwyster a rhodres,
Twyll, chafri, chwant mantes,
Does un o rhai henwes,
Yn gar nag yn gares i gariad,
O's ydym yn barnu, yn fuddiol i feddu,
Ag o's mynnwn ei brynu,
Rhaid gwrthod a gwerthu,
A gyrru y rhai hynny ar wahaniad.

7. Ond gwell gan ysbryd y byd hwn,
Pan ddel i gwestiwn gwastad,
Y rhain i'w trin hyd fin ei fedd,
Na'i gwerthu er cyrredd cariad,
Er hyn pe bae ni 'n bwrw 'r drael,
Mae mwy o fael i'w dderbyn,
O gariad hael a'i grêd ei hun,
Nag oddiwrth un o honyn,
Ceir meddwl bodlonus,
Wna 'r enaid yn happus,
A'r corph yn wŷch iachus,
Mae cariad yn cynwys,
Pob peth sy ddaionus, ei ddeunydd,
Mae 'r ddaiar yn ddigon,
I borthi ei thrigolion,
Er maint sy o anghenion,
Mae mwy o weddillion,
Ped fae ni 'n un galon a'n gilydd.

8. Pum rhinwedd dda sy 'n rhan i ddyn,
Ac heb yr un mae bagad,

Meddwl bodlon, calon rŷdd,
A gobaith ffŷd a chariad,
Nid oes mo rhain blanhigion hardd,
Yn tyfu yngardd naturiaeth,
Talentau ydynt maent i'w cael,
Yn ddigon hael a helaeth,
Pob un ſy 'n eu goſyn,
Mewn diffyg am danyn,
Mae rhain yn eu derbyn,
Drwy broſiad heb raſun,
A Duw ni ad iddyn mo'r diodde,
Pan ddelom i ddirnad,
Eu grym a'u gweithrediad,
'Dae 'r gorlan ar deilad,
Heb eidion na Daſad,
Bydd pob peth drwy gariad ar gore.



## Cerdd yn erbyn meddwdod; ar gyfarfod da, neu *well met.*

VI.

1. RWI 'n gyrru at bob gŵr,
Cwmnhiwr mwyn hoyw,
Sy 'n caru ſwyn cwrw,
Dal ſulw, rwi 'n ſiŵr,
Ar gyflwr ein gwlâd,
Am ſeddwdod rwyſi,
'N mynegi f' annogaeth,
Niſeilaidd ſywoliaeth,
Naturiaeth yw hi, dyreidi di râd,

 Pob

Pob criſtion glan ryw, ſedyddwyd ond yw,
Fe ar ddelw r gwir Dduw,
Dae r cyfryw 'n yſtyrio,
'R adduned ſydd arno,
Na ſeddwo 'n ei ſyw,
Ac etto mae dyn,
A'i natur ynglŷn, wrth drachwant a gwŷn,
Gorchymmyn y drindod,
Nid yw yn ei ganſod,
Na'i bechod ei hun.

2. *Noe* gynt o'i wirſodd,
Pan ſeiddiodd e' ſeddwi,
Danghoſodd ei noethni,
Mewn dryſni fe 'mdrodd ynfydodd yn fawr,
Ac fyth gwelwn fod,
Ar ſeddwdod yn wradwydd,
Anſeidrol ynfydrwydd,
Dyna arwydd ei nod,
I w nabod yn awr,
Mae 'n bechod mo'r boeth,
Fe dywys y doeth,
A'r cyfrwys wr coeth,
Yn annoeth gynhenus,
Ei feiau rhyfygus anafus a noeth,
Y meddw ymhob parth,
A ddengys ſel arth,
Ei noethder yn warth,
Nid diwarth i'w diod,
Oddiwrthi mae pechod,
Yn dyſod yn darth,

3. Cawn ſiampl i gyd,
O'r cynſyd fe i cenfydd,
Pob llonwych ddarllenydd,
Mae cywilydd y byd, yw coledd y bir,
Bu 'n dramgwydd i gant,
Drwy drachwant eu natur,

Clais

Clais annoeth i synwyr,
Pechadur a sant,
Dan warant yn wir,
*Lot* gynt oedd yn un dewisol o ddyn,
Troes meddwdod ei lun,
Bu 'n wrthun ei weithred,
Gael dau o fastardied o'i ferched ei hun,
Mae meddwdod yn dâd, i lygredd y wlâd,
O hono daw hâd ryw fagad ryfygus,
Meddyliau cableddus drygionus yn gad.

4. Pob chwerwedd a chur,
Pob llwybr enllibedd,
Anghydfod anhunedd,
Rhwng gwragedd a gwŷr,
Anifyr eu naws,
Cynfigen a ddwg ffrwyth amlwg i'w theimlo,
Oddiwrtho feddwdod yw honno,
A dry efo drŵg i'w dreio fo 'n draws,
Pob dyri goeg fas,
Ddi resfwm ddi râs: pob crebyn,
Air crâs, diflas a deflir,
Yn feddw pan fyddir a gofir o gâs,
A difrod bob dŷdd, ar eiddo i ni rŷdd,
A fyched y fydd, nas derfydd er diod,
Pob achos i bechod o feddwdod a fydd.

5. Mae 'r Arglwydd ei hun
Yn g'rafun rhag gormod,
Glythineb a meddwdod, gan ddannod i ddyn,
Fo 'n feddwyn ei fai,
St. *Paul* yr un don,
Am ddynion medd i ni,
Na fydd un o rheini,
Sy 'n meddwi oni thro'n,
Yn *Sion* a fai,
*Esaias* wir fant, rhydd geryddd i gant,
Gwae 'r meddwon eu mant,

A ysant nes y gweithie,
Y gwin yn eu gene a chynne 'n eu chwant,
Gwatworus yw gwin,
Terfysglyd a blin,
Medd selyf ddoeth fin,
A'i ddilyn ni ddylid,
Ond fel ac y gellid drwy drefnid ei drin,
6. Mewn meddwdod y mae,
Yn 'gwarchae 'r synhwyrau,
Y fall a'i biccellau yn dechreu pob ffrae,
Lladdiadau di Dduw,
'R hen dwyllwr nid all,
Yn ddiball a'i ddobor,
Mo 'n temptio ni n sobor,
I nemmor o wall, mae 'n ammeu na wiw,
Pan ddalio ni a'i ddôl, yn feddwon ddi rôl,
Yn waedwyllt a ffôl, ansuttiol yn sottio,
Bydd hawdd iddo ein hudo i rodio ar ei ol,
Pryd hynny gwna fo, y llwynog yn llo,
Mae 'n cymmysg y co, yn curo 'n y coryn,
A'r tafod yn ferwyn fel olwyn ar dro.
7. Nid oes yr un nod, mwy hynod gan ddiafol.
Ar ddelw 'r daiarol, ddyn bydol yn bod,
Na meddwdod, un modd,
Cyfnewid ei lun pob un o'i aelodau,
Yr yspryd a'r moesau cyneddfau 'r holl ddŷn,
Drwyddyn a drôdd,
Mae 'r enaid fel hyn yn swrth ag yn synn,
A Satan a'i tynn, yn erbyn cydwybod,
I wneud yn ei feddwdod y pechod na synn,
Y pen yn gwanhau, pyrth cariad yn cau,
A'r galon yn ffau, neu gaerau agored,
Ac ynddi mae 'r *Aspied* fel gwybed yn gwau,
8. Oll cedwch mewn co drwyddo 'r madroddion,
Fy mrodyr un galon holl feddwon y fro,

I'w

I'w rhifo ydyw rhain,
Dilynwn yn ôl, synhwyrol gynghorion,
Gair Duw a'i orchmynion,
Gwir purion gair *Paul*, gysonol ei sain,
A rhodiwn yn rhydd yn deg wrth liw dŷdd,
Na fyddwn ddi fudd, mewn awydd i ddiod,
Cyfeddach a meddwdod, yw fferdod y ffydd,
Cadwed pob un ei lestr ei hun,
Yn lanwaith ei lun, i ganlyn yr Arglwydd,
Mewn buchedd o newydd a dedwydd yw 'r dyn.



## Cerdd arall ar yr un mesur, gwahoddiad i helwyr Ddyfod i hela ac i wellhau ar wraig weddw dlawd a llawer o blant amddifaid, y cymhelliad hwn roed at Benaethiad ac uchelwyr plwyf Llangollen, ac eraill oddiamgylch.

VII.

1. RWI 'n danfon ar dwyn, gain addfwyn,
Gyneddfe i'ch gwahodd i'r unlle,
Iawn fodde 'n o fwyn, a digwyn yw 'r daith,
Anturiaf at wŷr uchelwyr a chalon,
Ac wllys da rhyddion,
A ffyddlon a phur fo 'n gywir i'r gwaith,
Dros weddw 'n y fro, gwraig William y gô,
Rwi 'n dwad ar dro, i geisio iddi gyssur,
A chariad ei brodyr difesur yw fo,
Gwir weddw ydyw hon, bur unig ei bron,

A'i

A'i phen dan y donn,
A'i gweinion genhedlaeth,
Yn gofyn i'w mammaeth eu lluniaeth yn llon.
2. O honynt mae wyth,
O dylwyth a deilied,
A hithe ydyw 'r nawfed,
Ond lludded yw 'r llwyth, i ddiffrwyth i'w ddwyn,
Heb feddu 'r un Tad mae 'n brofiad yn brifo,
Pob un ac a deimlo,
Er llunio gwellhad trwy fyniad rhyw fwyn,
Cymdogion hon fy, am daro ar ei thu,
Mewn cariad mwyn cu,
Yn mynnu pwynt manna,
Gwneud diwrnod o hela, i'r lladdfa daw llu,
Ar achos mor glir, ni arbedaf yn wir,
Ddim tai perchen tir, da gwelir i'w galw,
Pob cyfaill co hoyw fy 'n cadw ci hir.
3. Af at 'fgwier Llwyd fyberwyd naws bura,
O Drefor am drofa,
I hela fo g'wyd, mae 'n hylaw i'r gwaith,
Llwyd arall ar dir, adwaenir rhydonnen,
Atteba i'r un diben,
Wrth angen yn wir, fe'i denir i'r daith,
Anhercha 'r graig ddu, ar tylwyth o'r tŷ,
Da cynnes waed cu, rhaid gyrru i'r Fynechtid,
Ymweled a gwendid yw credid y cry,
Gŵr llonn fydd ger llaw, 'n yr accar fair draw,
Llwyd enwog lle daw, un hylaw a hwylus,
Da'i allu da'i wllys haelionus ei law.
4. Mi a 'n glaiar i'r Glynn dros fonyn o fynydd,
Ca helwyr co hylwydd,
Ar gynnydd y Tŷ gwyn,
Wy 'n ofyn yn nes,
Talygarth 'r un art,
Nid cywart mewn Caeau,
Fo 'u gwel ar eu gwalau,

Gwna

Gwna hwn chwareu ei bart,
Ar Llwydiart er lles,
*Morus Evans* mawr sel,
Sydd ganddo 'n ddi gêl,
A'r Wennar ni y wêl drafel yn ormod,
O's bydd 'sgyfarnogod, a diod lle dêl,
O's trinaf mewn trefn,
Rhaid cymhell y cefn,
Blaen nantyr, drachefn,
Mae 'n anrhefn esgluso,
Neu ballu 'r neb allo,
'S cawn lunio cân lefn.
5. Fe ddaw 'r Tŷ 'n y ddol,
Yn siriol ddi sorriant,
A llwydiaid y Pennant,
Ni safant yn ol; rhagorol yw 'r gwŷr,
Rhaid bellach roi tro,
Taer glosio tu ar Glwyseg,
A mynd at rai mwyndeg,
Yn rhwydd-deg mi a'u rho, i gario 'r un gur,
Plas Ucha geiff fod, a'r Isa 'r un nod,
Yn glynu yn y glod, a Hafod yr abad,
A gwilied neb ddwad, yn gauad ei gôd,
Ni fedrais wrth ri, roi 'ch henwau da chwi,
Yn barchus mewn bri, ond henwi 'ch trigfannau,
Gobeithio gwnewch faddau, sy o feiau arna fi.
6. Mae hanner gair mall,
Drwy angall fadroddion,
Ymhigau damhegion, yn ddigon i'r call,
I'w ddeuall yn dda,
Chwi 'dwaenoch fy llais,
Fel mowr-gais am ergyd,
A'r adar drwy rydid a drewid o drais,
A glymais i 'n gla,
Cymydogion heb son, rwi 'n disgwyl y don,

Yn

Yn rhwydd ac y rhon, dda roddion o'i reiddo,
Mi glywais rhai 'n addo gobeithio na thro'n,
O honynt mae rhi, drwy gyrrau 'n bro ni,
A rhai 'n cadw ci,
A rheini ſydd hebddo,
A mawr dalent i'w dwylo,
Rwi coſio attoch chwi.

7. O ddolfawr (yn ſiwr pob gwr o geneddfau,
Hyd waſtad ac orchrau,)
I dai blaenau 'r dŵr yn ſwccwr neſhewch,
Doed graddau da eu gras,
O'r pl s yn y pentre,
I vale cruſis y croeſe,
O'u cyrre heb ddim cas,
Cymwynas a wnewch,
Mae gwŷr ar du 'r gwann,
Drwy draian y llann,
Yn Nhrefor mae rhann,
Nhwy hwylian, i hela,
Yn ſiriol at Sara,
Mi a'i mynna i'r un mann,
Pob Heliwr hir ffonn,
Pob Bragwr ger bron,
Pob Sioppwr lliw llon,
Y Perſon a'r Clochydd,
Tafarnwr, Melinydd, blaid hylwydd at hon.

8. Pennoda i chwi 'r dydd,
Mae 'n ddedwydd i'w adel,
Yr hên wyl mihangel,
I'r drafel, led rŷdd,
Y rhybudd mi a'i rho,
Dewiſwch chwi 'r lle,
Fo gore i chwi guro,
Am Geinach neu Gadno,
I'w treio mhob tre, hyd frynnie 'n y fro,
Bydd ymbell brŷf brŷch, yn achub yn wych,

Er

Er hynny mhob rhych,
Bydd mynych gwn meinion,
Gan amled ar gwreichion,
I'w ymlyd i'r gwrŷch,
Er gwched y gwŷr, a'u parod gŵn pur,
Yn llammu dros fur,
Mo'r bryssur anhoswch,
Pan elo i'r anialwch y goedhwch a gur.

9. Och! Saled y swn ar bwrdwn di burder,
Cynhafa cân ofer,
Yn cellwer a'r cwn ni a beidiwn am bêth,
Eich gwadd i'r un lle, yn dade i'r amddifed,
Yw 'm dolur a'm dyled,
Er nodded Duw ne, da fodde di feth,
Pan ddelo chwi lawr, ar fyddin mo'r fawr,
Hardd gweled eich gwawr,
Bydd dirfawr y dyrfa,
Cyffurus i Sara 'ch ciniawa chwi nawr,
Cewch groeso glan ffri, yn hael ganddi hi,
A'r ddiod yn lli, yn llenwi, 'r holl annedd,
A thannau a chynghanedd iâch hoywedd i chwi.

10. Ymwelwn yn llon,
Ar gweddwon cystuddiol,
A byddwn wybodol,
Wyr brawdol ger bron,
Y gwaelion eu gwedd,
Ymgleddwn yn glyd, a'n golud ein gilydd,
Ein gyrfa ni a dderfydd,
Mynd beunydd mae 'r byd,
O'r bywyd i'r bêdd,
Mae 'n tryssor fel trêth, i'r awdwr di feth,
'R hwn pia pob peth, y cyweth a'r caeau,
Treftadaeth y teidiau, a'r plasau mur plêth,
Ddoe 'n perchen pob parch,
Yn mynd ar gefn march,

Duw

Duw foru 'n rhoi arch, i'w gyfarch a'i gyrred,
A'i fwrw fe o'i fowredd i orwedd i'w arch.

11. Mae 'r fgrythur yn fon,
Am weddwon yn amal,
Gan erchi i ni 'n ddyfal,
Eu cynnal pan fo'n yn weinion ar wall,
A wafgar eu dda lle mwya bo eu eifieu,
Chwanega eu dalenteu,
Ond te fe leihâ o's peidia mewn pall,
Mae bywyd a budd, i'w dderbyn ryw ddydd,
Yr hael a fo rhydd, a genfydd y gwynfyd,
Tan odfa tynn adfyd, ceiff olud ei ffydd,
O's hauwn had llawn,
Ffrwyth cariad fyth cawn,
Gynhafa 'r un grawn.
Duw cyfiawn a'n cofia,
Trugaredd blagura, blodeua mewn dawn.

*Diwedd.*

A'r gwyr clau wladwyr clydion---da'u tymer,
Doent yma hwyliafon,
Bwynt hela, buant haelion,
Wrth waedd hallt y weddw hon.



Cerdd ar gwel yr adeilad, i ofyn hela i hen bobl Sal weniaid; cwyn at eu ceraint a'u gwladwyr am ychydig o gynnorthwy iddynt, yr hwn a elwid yn gyffredin Samuel y Cwacer, hen wr diniweid, fyddai yn ei amser yn arferyd meddyginiaeth a physygwriaeth i Ddynion ac i Dda, ac yn gyfarwydd yn y gelfyddyd honno, y cymhelliad cyntaf at Wŷr Iâl.

VIII.

1. I Ganol Ial rwi'n danfon,
At haelion garedigion fwynion fynwes
Heb fynd i hir chwedleua,
Ar fyrder mi fynega i chwi fy neges,
Beth wnâ 'r anghenus clwyfus clâ,
Ond ceifio cyffur drwy ffordd gywyr,
Pan ddarffo ei lafur,
Mae 'n fynwyr iddo o's â,
Fynd at y rhoddwr llawen,
Sy ar dir yn perchen da,
Duw tad: Mewn rhyfedd gariad rhad,
Y fe fy 'n rhoddi pob haelioni,
Ac weithie 'n peri tylodi hyd y wlad,
Fel nad ymffroftio pobol anfyyriol yn eu ftâd.

2. Dros Samuel Jones mae 'nhrafael,
Physygwr Dyn a 'Nifael, a fyddo 'n afiach,
Neu 'r henw hysbysa i lawer,
Yw Samuel yr hen gwacer ond bod hynny 'n goegcach
Hwn sy: A'i wreigan egwan gu,
Mewn gŵth o oedran, er hyn ni fedran,
Hwy etto amcan, wneud datan yn eu tŷ,
O physygwriaeth gywraint,
I attal henaint hŷ,
Mae hwn: A chanddo gwmni gwn,
Sef henaint druan,
A phettai ei hunan,
Gwna 'r sŷth yn drwstan,
A'i gefn fel crymman crwn,
Er cryfed yw 'n hysgwyddau, gwna 'n pennau,
'N ormod pwnn.

3. Y ddeuddyn hyn rwi 'n henwi,
Daeth henaint i'w diboeni,
Ac nid ei hunan,
Mae ei gyfaill gydag efo, un angen
Fydd yn trettio, ac yn arfer trottian,
Ni fyn: hwn fyth gymdeithion tynn,
Dowch i wared heb galon galed,
A mael i 'mweled,
A'r hên henuried hyn,
Cewch dâl am bob anghenraid,
I'r gweniaid gan Dduw gwyn,
Ni wn i: A fedrai 'ch henwi chwi,
Mewn cyffon eirie, ond gwna fy ngore,
Am gael i'r gole, 'r llythrenne oll wrth ri,
I 'ch gwahodd yn fy llythyr tan awyr attom ni.

4. John Parry o'r Cowrt rwi i'ch annog,
A Samuel Parry ŵr enfog, y ddau o'r unfan,
A Thomas Parry puredd sydd hen-wr syth a dewredd,
O'r saith daran,
Ffrynd cu: un Thomas Simon sy,

A

A chyda hwnnw gydymmaith gloyw,
Dan ddelw tittw *, mae 'n cadw cwrw crŷ,
Sef Thomas fwyn ab Rachar cyfeillgar howddgar hŷ,
Ac un: John Parry i'w henwi ei hun,
O'r Tŷ Ucha chwe gŵr yma,
Myfi 'ch disgwylia 'n gynlleidfa llonna ei llun,
A'ch wllys da 'n gariadus ddaionus i'r hen ddyn.
5. Os oes o'ch cymdogion eraill,
Un gŵr o gâr neu gyfaill am ei gofio,
'R un peth i'w gwneud luseni,
Er nad wyfi 'n ei henwi deued yno,
A chlowch: 'bryd fydd y dydd y dowch,
Yr ystwyll nesa, mae hwylio hela,
Y boregwaith yma,
Oddiwrth eich trigfa trowch,
Y diwrnod hwn yn gyfa,
Nid yw fo 'n rhydda rhowch,
Heb os: Pan deloch gynta dros,
Fwlch rhyw felen, daw gwyr Llangollen,
Yn lluoedd llawen, dan fisien drwy bob fos,
At ddeg ar glôch i redeg,
I foel y glwyseg glos.
6. Dowch chwithe 'n gwladwyr ninne,
Drwyddoch i gyd radde a ch code cadarn,
Ni fynnwch gael mo'ch galw,
'R dydd heddyw wyr glân,
Hoyw yn galon haiarn,
Wrth ri: Nid wi 'n eich henwi chwi,
Yr y'ch chwi 'n aros bawb yn agos,
Nid rhaid i'm ddangos mo ffrwyth yr achos ffri,
Chwi wyddoch hwn ar gore fe alle 'n well na'm fi,
Bob un: mi 'ch cadwa chwi 'n gyttun,
Nis gwn i amcan, pwy fawr pwy fychan,
Pwy letta ei arian,
Nid wyt ond trwstan ddyn,

S 2 Pwy

* *Tafarn y gath.*

Pwy oreu o'i gyfneseisied,
Ond holed pawb ei hun.

7. Wel dyna fi 'n ddi fales,
Wedi dweud fy neges broses brysur,
Gobeithio yn hyn o eirie,
Na 'gorais i mo'm gene, i gahu 'n segur,
Ond y daw: rhyw dryssor oddi draw,
I'r hen boblach, sydd *Sulach*, *Salach*,
A'r byd yn brinnach a llymmach dan eu llaw,
Ac angeu wrth eu Sodleu,
Yn dangos rhyche y rhaw,
Ger bron yr hyna ar y ddaiar hon.
'D yw 'r byd ond benthig dros ychydig,
Ni cheiff bonheddig mo'r ffair y ffyrnig ffonn,
Lle gweloch fwya ddiffyg, rhowch un galennig lonn.

8. Ystyriwch egwan agwedd,
Dechreuad dyn a'i ddiwedd gwaeledd gwelwch,
Nad ydyw tiroedd mowrion,
Nag arian ddim ond rhoddion un Duw 'r heddwch
Tylawd: yw pob hyfrydol frawd,
I'r byd pan ddelo, heb ronyn ganddo,
Heb nerth i 'm dreiglo,
Heb gnu i guddio ei gnawd,
Heb geniog o gynhysgaeth,
Heb luniaeth yd na blawd,
'Run hyd: pan eir i'r bedd o'r byd,
Yw Tir a Thyddyn y cardottun,
A'r gore ei ffortun fo 'n frenhin uchel fryd,
Nid ydyw 'r hyn sy ganddo,
Ond eiddo i'w gado i gyd.

Ac fe ddaeth y ffraeth wyr ffri---llu enwog,
Llawena cwmpeini,
Mynasant iawn, gyflawni, } *Diwedd.*
'R gan hon, ac uno a hi.

Cerdd



# Cerdd arall ar yr un mesur, cyffelyb i'r un testyn, cwyn y Prydydd dros ei Chwaer oedd yn Wraig weddw dlawd yn magu plant amddifaid.

## IX.

1. GLYN dyfrdwy glau drigolion,
Dros weddw daer rwi'n danfon, union annerch
Gobeithio wyr syberlan, y gwir wrandewch,
Heb duchan, ar gwynfan gwan-ferch,
A hi: yw fy chwaer mi 'sbysa i chwi,
Ei chledi a'i diffyg, yn wreigan unig,
Rwyf am roi cynnyg at wyr caredig ri,
Da eu nawdd sy 'n perchen eiddo,
A chred i wrando ei chri,
Gan hon: i'w maethu a lluniaeth llonn,
Mae pedwar gwenied o blant ymddifed,
A'r byd yn galed 'och brudded yw ei bron,
Dan angen du gydymmeth di ffafreth yw ei ffonn.
2. Mae angen du l'e delo,
Yn ŵr arfog, mynn ei fostio,
Ran mae o'n feistr,
Nid oes un gŵr goreurog,
A'i ceidw fo yn weinidog mwy na'r neidr,
Ond nŷch: yw gweled gwrda gwych,
Yn gorfod iddo, ymostwng tano,
Yn wâs i'w foddio,
Mynn yno rodio ei rŷch,

 Rhoes

Rhoes lawer dewr i duchan fel gwrachan yn y gwrych
Wrth hyn: Nid rhyfedd. fadwedd fynn,
Ei fod o'n wafgwr caled ddeliwr,
I'r gwan di fwccwr fel taer orthymmwr tynn,
I lwytho 'n drwm a'i lethu, a'i dorri fynu fynn.
3. Rwi 'n gwadd i dy 'r wraig weddw,
Fwyn glau gymdeithion gloyw,
Gan alw 'n uchel,
A'u dobor dyna 'r diben,
Yn erbyn rhyfyg angen,
Rhy ferr ei gengel,
Yn ddwys: Plwy Corwen lawen lwys,
I'r perwyl yma, y chwi wahodda,
O'r ddwy-dref ifa, a'r Gwyr penna i gario 'r pwys,
I 'mddifaid ac i weddwdod,
Yn wir dadmaethod mwys,
Mewn gair: Cynghanedd groywedd grair,
Mi henwa 'r diwrnod,
Y cawn gyfarfod,
I wneud eifteddfod,
A phenod hyn o ffair,
Hwn ydyw 'r Sadwrn cynta,
Gyfeiria ar ôl gwyl fair.
4. Tu arall i fwlch Rhifgog,
O's medrai gael cymmydog rhywiog rhadlon,
Neu gâr ŵr mwyn-deg euraid,
I'r weddw neu amddifaid gweniaid gwynion,
Rwi 'n daer: a glew mhob annedd glaer,
Gan ledu f' afgell, dros lawer cyfell,
Mae gennyf ddichel i gymhell ymbell aer,
A ddelo, gyda myfi,
Ac a chweri 'mhlaid fy chwaer,
Wŷr ffri: Er dim ni fynnwn i,
Mo'r gyrru ar undyn,
Na'i cael i'm calyn,
Heb wllys ganddyn fel llong yn erbyn lli,

Oni

Oni bydd deheuwynt cariad,
A'i chwthiad efo chwi.
5. Ond mi wn nad yw fy haeddiad,
Yn ddigon mewn iach dyniad yno i ch denu,
Ac wrth ei fod mo'r lychan,
Byth er fy mwyn fy hunan,
Ni wna i mo hynny,
Ond er mwyn, y gwr rhagorawl gwyn,
Sy 'n rhoddi eiddo, i'r fawl y mynno,
Heb neb eill feio,
Am iddo oddiarno ddwyn,
Mae 'n erchi lle bo
Cledi roi elufeni o fwyn,
Y fe: A grym ei awdurdod gre,
A ddygodd hefyd y weddw i adfyd,
A'i gwr i'r gweryd, a'r un anwylyd ne,
Sydd etto 'n dad i'r gwenied,
Mewn lludded ymhob lle.
6. Meddiannau r byd fydd ganddo,
Fel Mor yn llenwi a threio,
Neu wlith yr awyr,
A'i fwydd dad hylwydd teilwng,
Yw codi graddau a'u gyftwng,
Drwy rywiog yftyr,
Am hon: agorai 'r gwir ger bron,
Nad diogi a'i dygodd,
Nag afrad gwirfodd,
A i tylododd neu ei tynnod iflaw tonn,
Ond gwendid a drudaniaeth,
Drwy law rhagluniaeth lon,
Praw prudd: O'r hen *Samariaid* fydd,
Pan eu cyfyngwyd, gan brinder bywyd,
Rhagluniaeth hyfryd anfonwyd yno 'n fudd,
A r newyn bwyd a beidiodd,
Fe doddodd mewn un dydd.

7. Fel hyn mae Duw 'n drugarog,
Yn llenwi y rhai newynog rhwydog rheidus,
Ac weithiau 'n gyrru 'r llawnion,
Yn weigion mewn colledion ac yn drallodus,
Gair drud: i r gwr goludog clyd,
A'i dir yn cnydio, oedd dweudyd wrtho,
Y nos hon heno, cei amdo 'n lle dy yd,
Ac eraill a gynhafa ac a feda thithe 'n fud,
Gwaith Duw: fy n rhyfedd i bob rhyw,
Nid gofalon dinerth dynion,
Heb ei fendithion fy 'n foddion i ni fyw,
Drain heddyw, geilw ein golud,
A blinder yfpryd yw.
8. Ond pam 'r ordeinwyd dynion,
Rhai 'n weigion a rhai 'n llownion ar ol eu llunio,
I gyd o'r unrhyw ddeunydd?
Ond dyma r achos beunydd i chwi efbonio,
Duw a wnaeth: y byd fel union faeth,
I gŷd yn waftad, yn ei ddechreuad,
Heb ddim gwahaniad,
Nes dwad ceidwad caeth,
Sef pechod yn rheolwr,
Can hwyliwr gweithiwr gwaeth,
Ar ei ol ae r byd yn ynfyd ffol,
Rhai i gafglu Mamon, a rhai 'n afradlon,
Hwn yw r Anghyfion fy 'n gwiro 'r union rôl,
Tylawd a chwaethog hefyd, a ddaliwyd yn ei ddôl.
9. Ped fae ni 'n gwrando ac yftyr,
Gair Duw ac yn ei wneuthur eglur oglud,
Pob mefur ae n gymhwyfach,
Gwaftadach a buddiolach hynny ddylid,
Gair Duw: pwys mefur cywyr yw,
Pe cae fo 'n ffyddlon, reoli dynion,
Troe 'r cam yn union, yn ol ei raffon ryw,
Ni chae na thrais na chamwedd,
Na gwag oferedd fyw,

Mae

Mae 'r byd, tir, môr a'u dryfor drud,
Yn gyflawn ddigon, i dorri anghenion,
Yr holl drigolion a'r gwenion fy ynddo i gyd,
A'i rannu fo 'n gymhedrol,
Ar dduwiol frawdol fryd.
10. Wel bellach garedigion,
Mi draethais i fy ngwynion dros yr Anghenus,
Diolchgar ydwyf etto,
I bawb a'i cynnorthwyo,
'N ei byd caethiwus,
Ar dir: rwi'n barnu 'n rhyfyg clir,
I'm fod gan hyfed,
A 'ch gwadd gan belled,
Ond gweled drymed,
Ei chowled coeliwch wir,
Mi feiddiais roi 'nghelfyddyd,
I esmwytho ei hadfyd hir,
At wyr: A wnel fyberwyd bur,
Myfi ddanfona, 'r cymhelliad yma,
Does odid •wrda, wneiff edrych arna 'n fur,
Oni bydd calon cybydd,
A'i deunydd fel y dur.

Gwnae 'r dynion burion fyberwyd---heb nag,
Ar neges a gafwyd,
Gwrandawodd y Gwyr diwyd,
Ar waedd lêf, y weddw lwyd.



Cerdd ar Charity Miſtreſs, yſtyriaeth at y gwladwyr o amgylch y Glynn fechan Llanſtffraid, pa rai a wahoddwydd i hela ac i gynnorthwyo Sion Wmffre Lewis, yr hwn oedd yn weddw y pryd hwnnw, a llawer o blant amddifaid ganddo.

X.

1. WIR garedigion howddgar gwllyſgar llon,
Sobreiddia eu bron,
Mawr gyſſur ydyw 'ch dyfod,
I'r ymdaith hynod hon,
Gwahoddwyd chwi yma heddyw,
Wŷr gloyw 'n glau, er mwyn gwellau,
A chymmorth plant ymddifad,
Mewn cariad heb naccau,
Ymweled a'r trueinied,
Pan fo nhw tan gaethiwed hir,
Pob union gred, gwel yn ddyled,
Gyflawni 'r weithred wir,
Mae Duw yn addo gwynfyd,
Am wneud ſyberwyd ddiwyd dda,
I'r iſel fryd, ſy 'n byw 'n y byd,
Mewn adfyd cledfyd cla.
2. Duw ydyw rhan y tlodion, a'u tirion dad,
Er llawn wellâd,
Er hyn drwy ddwylo dynion,
Mae 'n danfon rhoddion rhâd,

Duw

Duw pia 'r byd cwmpasog luosog le,
Dan awyr ne dyledwyr ydyw dynion,
I wneud ei orchmynion e,
Nid ydyw Duw 'n bersonol,
Yn rhannu a'i haeddol law ei hun,
A'r gwirdduw gwynn, cyfrannu fynn,
Ordeiniodd hyn i'r dŷn,
A dyma ei ddysg ddiysgog,
Dyled goludog i dylawd, pob un heb oed,
Gadd dalent doed, cyfranned rhoed i'w frawd.
3 A welo ei frawd mewn diffyg, heb gynnyg un,
Dosturi i'r dyn, mae 'r gair yn dweud fod hynny,
'N angharu Duw ei hun,
Y ffordd i nabod gweision a dynion Duw,
Yn ol eu rhyw, cael ynddynt nodau cariad,
Gwir fwriad gore i fyw,
Mae Crist yn nodi ei weision,
A Chariad grym arwyddion gras,
Yn blant i'w dad, i fyw mewn stad,
O gariad yn ddi gas,
O na bae genym gariad,
Drwy gywir dyniad i bob dŷn,
Gwnaen y tylawd, mewn bri fel brawd,
O'n hanwyl gnawd ein hun.
4. Bydd rhai yn gwneud trugaredd,
Er cyrred clod anwadal nod,
A rhai o ran cymdogaeth gwybodaeth sy yno 'n bod,
A rhai er mwyn cael heddwch,
Fel na thristhaer eu hwyneb claer,
Pan fo 'r tylawd wrth gesio,
I'w blino 'n dirio 'n daer,
Y wir elusen gymwys,
Di lŷs awyddus wllys yw,
A'i hystyn hi, yn unig ffri,
Er mwyn daioni Duw,
Yn hyn roedd oebyrth Abel,

A'i

A'i gywir ſel mewn goreu ſ..in,
O deimlad dwys yn paſio pwys,
Aberthau cyſrwys Cain.
5. A ſedro wrth wneud eluſen,
At druien droi, a Duw 'n ei gloi,
Ni wyr deheulaw hwnnw,
Pa faint mae 'r aſw 'n roi,
Mae llawer rhyngom ninne,
Rwi 'n adde 'r gwall, a bod mo'r ddall,
O gariad i gyd uno, a llwyddo 'r naill ẏ llall,
Ow: pam yr ŷm mo'r ynſyd,
A charu golud bywyd byrr?
Pwy wyr pa hyd, y peru r byd,
Nai terſyn bryd y tyrr,
Nyni welſom newid graddau,
Yn amal yn ein dyddiau ar dir,
Cawn etto hyn o ſiamplau ſynn,
Ni hwyrach cyn bo hir.
6. Fel megis doe y daethom y cowſom ddrud,
Dryſorau 'r byd, maent yn ein dwylaw heddyw,
Fel clauar elw Clyd,
Ar ſyrr ſel pettai foru,
Er meddu mael a golud gwael,
Y collwn ni ein holl ynill,
Ac eraill yn ei gael,
Er maint yw rhwyſg daiarol,
A braint brenhinol reiol radd,
Angeu gawr pan ddelo eu hawr,
O'u llwyddiant mawr a'u lladd,
Nid y mwya eu gywaith,
Yw 'r mwya eu doraith ger bron Duw,
Ond y mwya wnaeth, drugaredd i gaeth,
Sy 'n bennaeth yno 'n byw.
7. Am wllys mwyn cariadus, wŷr downus da,
Myſi 'ch coffa, gobeithio nad oes undyn,
Fel cyndyn a naccâ.

Doed

Doed pawb yn ol eu gallu, nid tafgu 'r un,
O'i hawl ei hun, cyfrennwch eich elufen,
Yn llawen deg eich llun,
Dwy hatling fy 'n dderbyníol,
Gan wŷr di waddol euraid wèdd,
Rhoed gwych a gwael, a chalon hael,
Yn ol y fael, a fedd,
Lle 'r hauodd Duw 'n helaethach,
Mae gofyn tynnach arnynt hwy,
Deuallwn ni, o'u ffrwythau ffri,
Mae 'n difgwyl medi mwy.

Rhoefon wobrwyon i'w brawd---yn hwylus,
Bu 'n helaeth ei gardawd,
Wrth hyn o druth wan draethawd,
Doent i wledd y dyn tylawd.



## Cerdd ar galon drom, i ofyn Mul gan Mr. *Llwyd* o Ben y Lann, i *Peter Davies* o'r Eglwyfegle.

XI.

1. Y Meiftr Llwyd a nodwyd i ni,
Yn ŵr o alwad i reoli,
Ar Benn y Lann, i'r gwan mae 'n gynnydd,
Ac yn glod-wych yn y gwledydd,
Piler abal plwy Rywabon, a chluft agored,
Clyw ef ochened, clâf achwynion,
Pob gwan a'i oernad gwena arnoch,
Gan eich bendithio,
A'i gweddi etto ogwydda attoch.

2. Canu

2. Canu rwi am cwyn y rwan,
Dros un adwaenoch wanna dynan,
Gŵr o waedol wych gyneddfau,
Ond chwilio ei wraidd a'i uchel raddau,
Llawn oedd ftad ei dad a'i deidie,
Ac ynte i adfyd,
Yn cael ei ymlyd, i fin clemle,
Bu 'n Feifter Davies ddechreu ei amfer,
Pan droed e i fegio,
Fel Arth i w baitio fo aeth yn Beter.
3. Dylafai fod yn Aer tre'tadol,
Ar dir y 'glwyfeg le achlefol,
Oni bae fariaeth ei rieni,
A'i dŷ lediodd i dylodi,
Ond Duw fy 'n rhannu rhoi a chymryd,
Y fe pia 'r cyfan,
Ie tyrrau gwiwlan Tir a golud,
Gwna weithiau fythod mân yn Bebyll,
Pan welo 'n deilwng,
Ei ran i'w gyftwng mowrion geftyll.
4. Mae 'r gair hyd heddyw, mai cybyddion,
Traws fu yma, 'n treifio am famon,
Oedd rhai o'i 'nafied galed galon,
Yn cneifio a hifio cnafon hyfion,
Yn awr eu heppil rai anhappus,
Yn gorfod dioddef,
Iâs y gwellef, eifiau gwallus,
Aeth trais yn elw, a'r elw ymchwyddodd,
Wrth geifio 'r wybren,
Accw i'r dommen y codymmodd.
5. Ped fafai 'r enw doetha a'r aned,
Yn dweud yn amfer ei henafied,
Y gorfyddai i Meiftr Dafis,
Gwyno 'n fal-brŷt gwan ifel-bris,
A hel ei fywyd hyd y dryfau, mewn cyfyngder,
Noethaf dymmer gwnaethud ammau,

Pwy

Pwy goeliasai am ben y glwyseg o frig uchelwyr,
Mawr a Meistyr mo'r rymmusteg.
6. Ond dyma 'r gŵr sy 'n prynu 'r amser,
A werthodd eraill mewn gwasgwchder,
A drud yw balchder ac oferedd,
Pan ddel byd gwelw bywyd gwaeledd,
Ac nid ei fai fo ei hun mae 'n hynod,
A yrrodd fowrwall,
Gwag ofer-fall i'w gyfarfod,
A chario ei genedl peth nis gallai,
Ond rhaid yrwan,
Yn gorryn bychan gario eu beichiau,
7. Ond nid cyhoeddi rhain a'u hanes,
Yw terfyn agwedd taer fy neges,
Hyn yw fy nhestyn dygyn digas,
Sef eich cymmynu am eich cymmwynas,
Rhaid gofyn rhodd, o'ch gwirfodd wllys,
I ymendio ar Beter, ple mae rhyw feger, mo'r rhyfygus
Nes cael y rhodd, mae 'n bur anfoddog,
Gan dda 'wyllysiwr,
Dedw'ddol wladwr diddyledog.
8. Mae 'n dechreu son am ryw wasaneth,
Cario glo a rheibio rhywbeth,
Meini llifo neu fytattws,
Neu bynnau o bottiau i'r Bala a'r Bettws,
Pe cae fe ful neu geffyl gwerthfawr,
A gymrai g'ledfyd,
Garw brin-fyd ar gwrr bron-fawr,
Ni wiw rhoi Ceffyl iddo o'ch Gwagen,
Ni thal o with olwg,
I fyw ar fwfwg mo'r ddwy' fesen.
9. Er nad yw fe ond drŷw go fychan,
Mae ynddo natur y Barcuttan,
I arogli ei fwyd ymhell oddiwrtho,
A chymryd cwmpas i fynd atto,

Fe

Fe dwaenai 'ch natur oftwngedig,
Mai gŵr fyberwych,
Da i'w fath ydych di fethiedig,
Fe wyr dyn angall dan ei angen,
Pwy ydyw 'r gore,
Am deimlo ei loefe, amla ei 'lufen.

10. Mae 'n ddigon elufen helpio Peter,
O's gellwch mendiwch hwn mewn mwynder,
Am Ful i eifte anifail yftwyth,
Neu ddiog Ferlyn a ddwg fowrlwyth,
Dyma 'r dolur mawr ar dialedd, fy yn ei flino,
A mentrodd guro, am nawdd trugaredd,
Gobeithio ceiff ef genych groefaw,
Ac heb fynd allan,
Gan ŵr rhywioglan, yn rhy waglaw.

Ar canu fellu cae fod,---Llwyd Eurfodd,
Ymrwymodd i'r ammod,
'Goftiai 'r gŵr o'i gift a'i god,
Am wan fawl, un o'i fulod.

## Cân y Cardottyn Eon, neu Sturdy Beggar, dichell yftrywgar y prydydd i ofyn cyfrwy, yn gyntaf Cerd y Cweft: ar hun gwenlliain.

### XII.

1. CLYWCH fy nghyffes hanes hynod,
Yma o fowrdaith fy myfyrdod,
Mae 'n anhawdd celu blinder meddwl,

Traetha

Traetha fo allan i chwi 'n gwbwl,
Mynd yr oeddwn i ryw siwrne,
Ar fy march i rodio 'r gwylie,
A chwedi ymdrwsio 'n lled ganolig,
Er hyn i gyd roedd arnaf ddiffyg,
Roedd geni geffyl a wasnaethai,
Ond am fy 'nghyfrwy mi wn na thalai,
Mo'r dwy geiniog gan wŷr digonol,
Ond tynnu oddiwrtho fo 'r ddwy warthol.
2. Roedd pedwar gŵr bonheddig heini,
Yn cyd ymdeithio gyda myfi,
A rhain yn gwneuthur cwêst cyd rhyngddyn,
Ynghylch y gwarthus gyfrwy gwrthun,
Y cynta oedd Mr. Uchel Olwg,
Gŵr ag ymadrodd go dafod-ddrwg,
A henw 'r ail oedd Meistr Angen,
Ar llaw i'r gene a'r din i'r dommen,
Mr. Gonestrwydd, oedd y trydydd,
Gŵr a'i glod drwy gyrrau 'r gwledydd,
Mr, Digywilydd yn bedwaredd,
Gŵr pwyllog eiriau pell am gyrredd.
3. Gofynnodd Mr. Uchel Olwg,
Pam yr oedd fy nghyfrwy cynddrwg?
Mr. Gonestrwydd eber finne,
Sydd yn rhy ysgafn ei boccede,
Pan ddelo arian at ei ddwylo,
Bydd Mr. Angen yn ei yspeilio,
Ond te mae 'r gŵr ar goreu ei wllys,
Cawn fod yn perchen Cyfrwy parchus,
Ond ebr Mr. Uchel olwg,
Mr. Gonestrwydd, dowch er Tolwg,
Prynwch iddo fo Gyfrwy newydd,
Rhag cywilydd gwlad, a brad i Brydydd.
4. Mr. *Gonest*. Cadd gennyf unwaith hanner coron,
I brynu Cyfrwy 'n onest ddigon,

Ac Uchel Olwg a'i hattebe,
Dô, dô, rwi 'n cofio hynny ar gore,
Fo gadd am hwnnw garp o Gyfrwy,
Gan y Cobler o Glynn Dyfrdwy,
A hwnnw oedd wedi torri ei leng-gig,
A'i gefn a'i 'fgwyddau a'i 'fennau 'n finig,
Prynu hên rhaid prynu eilwaith,
Bargen fâl oedd hon yfywaith,
A drutta marchnad er ei eni,
A wnaeth y Prydydd ond priodi.
5. Rhowch iddo ddeuddeg fwllt neu bymtheg,
I brynu Cyfrwy newydd glandeg,
Mr. Goneftrwydd a fodlonai,
I 'wneuthur hynny gyntá gallai,
Ar hyn mi glywn y Mr. Angen,
Yn dechre grwgnach rhag y fargen,
Rhoi arian mawr am Gyfrwy tano,
Mae llawer peth fydd 'reitiach iddo,
Efgudiau i'r plant a chant o ffwndwr,
Mae eifiau talu i'r Gwŷdd a'r Tailiwr,
A thalu 'r arian gadd o fenthyg,
Rhent a thrêth pob pêth fy 'n ddiffŷg.
6. Mr. Goneftrwydd erbyn hynny,
Roedd ynte 'n dechreu calon galedu,
A tharo gyda Mr. Angen,
Ni oedd 'r un Cyfrwy i'w gael drachefen,
A'r ddau a ddweuddai mo'r ddi gyfur,
Y cawn farchogaeth ar y ftrodur,
Ac Uchel Olwg aeth i wylo,
Rhag fefyll at y fargen honno,
Mr. Digywilydd oedd yn gweled,
Fod yftrodur gul yn galed,
Ail gododd hwn y cwêft o newydd,
Dan ddweud mi fynna Gyfrwy i'r Prydydd.
7. Goneftrwydd a'i hattebai 'n fuan,
Pa fod y mynnwch heb ddim arian,

*Digywilydd,*

*Digywilydd*, Mi a'i mynna 'n wir 'rwi'n bur wlŷſgar,
*Goneſt*. Gwyliwch wneud y gwr yn lleidar,
Na wna 'n wir os wy'n ei lygru,
Mi gwna fo 'n dippyn gwell na hynny,
Mi wna iddo feggio Cyfrwy 'n bwyllog,
Oddiar wŷr ſyber hael trugarog,
Ar hynny Angen a Goneſtrwydd,
Rhoent iddo [illegible]wylo mewn bodlonrwydd,
O's ceiff o ry[illegible] ei feggio,
Ar gefn ei Geffyl[illegible],
8. Rhag hynny Mr. [illegible]el [illegible]wg,
Oedd yn ymſgrwttian da[illegible]d, cilwg,
Ei lygaid oedd ar ſilff uwcha[illegible],
Ni fedrai ei gwyro at ddrych beggeriaeth,
Mr. Digywilydd a'i perſwaedie,
Mai dyna'[illegible]ffordd y gwnawn i ore,
Mae llawer gŵr o well hwn yma,
Ac uwch ei ſtad, yn balch gardotta,
Nid wyfi 'n gyrru mo'no i'r dryſe,
Ond ſyber geiſio mewn llythyre,
Ar hynny 'r gŵr a led fodlonodd,
Ac i'r caſt hwnnw 'r cweſt cytunodd.
9. Mr. Digywilydd a droes atta,
Ac a'm cynghorodd fel hyn yma,
Rhaid itti wneuthur Cerdd bleſerus,
I ryw wyr enwog yn yr ynys,
A gofyn Cyfrwy nid pwngc afrad,
A dweud mai fi roes itti genad,
Di gei un a'i 'r neges ganddynt,
A'i cân i wrthod hyn oddiwrthynt,
Gwnes inne ei gyngor onor enwog,
Gyrru 'r awen ddwyen ddiog,
Nid ydyw hyn ond gwag freuddwydion,
Mae etto chwaneg o'r achwynion.

# Cerdd arall ar *hope to have*, i ofyn y Cyfrwy gan dri o Uchelwyr o blwyf *Llangollen*.

XIII.

1. FY nghyd wladwyr, 'm cymydogion,
Chwi wyddoch bellach yr achosion,
A barodd i mi yrru attoch,
Mi dreiaf heno dri o honoch,
Rhaid i mi daflu 'r matter yma,
Ymhellach na 'm cymdogion nesa,
Mae cymwynasau rheini 'n amal,
Yn fy 'nhynnu o lawer magal,
Pan fwi 'n anghenus gwnan fy nghynal,
Ac chwaith ni yrra at benna bonedd,
Mo 'm cwyn anghenog mewn cynghanedd,
Ond mewn gwir awydd i'r goreuon,
O'r bobol haeledd wladedd lwydion,
Tri gŵr o agwedd trugarogion.
2. Nis gwn i pryn a henwai gynta,
Ond dig am hynny ni ddisgwylia,
Ar lann Dyfrdwy mi ddechreua,
Ac ar i wared mi gyfeiria,
Rhof un Edward (wr hynoda,)
Wynne o Ddolfawr yn y ddalfa,
A chwedi hyn ar daith mi dithia,
At Edward Edwards o'r Plâs Ucha,
Ymlaen y Glwyseg wardeg wrda,
Mi af oddiyno i Drefor Isa,
Ac ym Mrynn Howel mi ddisgynna,

Att

Att Edward Moesen i ormesa,
Ffei o'r ffasiwn ddigywilydd-dra,
On dyna fulen am dysaela.
3. Y tri Edwardiaid Duw a'ch catto,
Cyfrwy newydd 'rwi 'n ei feggio,
O'r sâth a fynnoch nid wi'n tasgu,
Ond boddio 'ch hunain wrth ei brynu,
O's geill eich wllys da sy helpio,
Yma am unwaith rwi 'n dymuno,
Maddeuwch i mi am un tro ehud,
Nid wysi ar feddwl gwneud celfyddyd,
Deuallwch gwelwch o dolli 'ch golud,
Er treio f'annerch tri ofynes,
Rhag bod ar un yn ormod gormes,
Na ddelo 'nd hynny i dorri 'ch pyrsau,
Mo gyffes prydydd ar bappurau,
Ple mae 'r un begger mo'r lym ei bigau.
4. Er hyn roedd achos beggio 'n ddygyn,
Chwi glywsoch fynd y Cwêst yn f' erbyn,
Tan ddaeth Digywilydd wr diogela,
Gore fforman geirieu ffurma,
Fo barodd i mi 's canu fedrwn,
Feggio Cyfrwy o'r fan a fynnwn,
Ni feddwn inneu fawr garennydd,
Yn unlle i'w galw 'n well na'u gilydd,
Ac yn wŷr abal i hyn o rybudd,
Mi geisiais gyrredd y gwŷr gore,
Er nad wi 'n haeddu ganddynt garre,
Ond ddallt eu bod yn perchen golud,
Ac yn burion am syberwyd,
Fe wyr y llwynog lle mae llownfyd.
5. Gobeithio na bydd i'm cynghanedd,
Fynych grugo 'r un o'ch gwragedd,
Nag 'r un o'ch Aerod plant na'ch wyrion,
I chwi 'n fy edliw a chwyn anfodlon,

Ond teimlo 'ngyflwr hyd yr eitha,
Ni fedrant na thofturiant wrtha,
Chwi glywfoch gynne 'r farnedigaeth,
Nad oes fyth Gyfrwy i mi wrth y gyfraeth,
Oni fedrai gyrredd o dwy feggeriaeth,
Gan i mi ddechre cymryd arna,
Ni waeth gwneud 'fmonaith ar gardotta,
Gofyn blawd i'w roi 'n fy mhottes,
Gyda 'g ŷd, a gwneud faith neges,
Mi fedra garol pob begeres.

6. Peth digon gweddus mi wn y gwyddoch,
Ar ol cael Cyfrwy hardd melyn-goch,
A fyddai gweled Ffrwyn i'w galŷn,
Fel dillad newydd o'r un brethyn,
Wel dyna 'r Faladein fydd genny,
O's pawb fydd fodlon i'w chyflawni,
Ae onide nid oes mo'r ddyled,
Mae 'n rhaid i mi fodloni i'm lludded,
Yn tremio a chanu trom ochened,
O's metha 'r gân a gwneud y neges,
Aeth yn ofer waith y nyfes,
Mi geifiais gadw mhen fy hunan,
Nid allai wrth fy fynwyr lledwan,
O's yw fo i f' achub yn rhy fychan.

7. Gan i mi wneud y fath denantied,
A minne 'n anhy a mhen gan wanned,
Pwy etto gaf, rhyw ŵr o gyfri,
I fod yn oruchwyliwr i mi?
A hwn fydd Edward Jones o'r Bache,
O's gwneiff o gymryd fiars y llyfre,
Mae 'r buliau wedi gwneud i fynu,
Ni cheifiai ganddo fe ond golygu,
O's daw fe 'n ddigoft rhaid gofalu,
Am roi yn ei dwylo 'r fgrifenadau,
A derbyn eilwaith y tryforau,

Fel

Fel nas gorfyddo arnai ludded,
Ond dweudyd wrthynt pan ga ei gweled,
Duw a ,enillo i'r gwyr eu colled.
8. Pa ham y canwn i i'r Edwardied?
Pam? Ond am fy mod yn tybied,
Eu bod yn ddynion calon rowyog,
Am wrando ar fy 'ngwyn anghenog,
Un Edward dwyfog enwog ynad,
A gurodd ddelwau 'r gau addoliad,
Dyna 'r brenhin yn ei amser,
Goreu gariodd goron lloeger,
Er bod brenhinoedd luoedd lawer,
Cewch chwithau fod dan glod y gwledydd,
Am roi brawdol ran i brydydd,
Yn nyddiau 'ch ŵyrion gwneir eich canmol,
Coffa eich henwe a geirie gwrol,
Lle bo gantorion go naturiol.

A rhain, fal cywrain, wyr cu,---Puredig,
Wnae 'r prydydd i fynu,
Cyfrwy Ffrwyn, er cwyn, canu,
I hwn yn fwyn, hyn a fu.



## Cerdd ar *neithiwr ac echnos*, Diolch i'r Gwyr am eu rhodd.

IX.

1. FY ngwyllyfwyr da caredig,
Hael galonnau a'u hardd galennig,
Chwi fuoch ffyddlon fwynion fynwes,
I fy nghoffa ar ol fy nghyffes,

Mae 'n gofus genni a gefais gennych,
Derbynniodd f'awen gecfen goegfych,
Pan wnaethym gwyn wrthych gynorthwy,
A minne a gwyneb pres cyfrwyfaidd,
Pwy allai wneuthur mo'r wenithaidd
Un ddichell mwy gafraidd, am Gyfrwy.

2. Llunio buliau a llenwi baled,
Yn hŷ ddiethrol hyrddu 'r weithred,
Gyrru a dal fel gwŷr a dyled,
I rwyd mewn awydd rai di niwed,
A llef oeredd y llafuriais,
I rhain am gofyn er hyn a gefais,
O'r peth a gychwnnais ei chwennych,
Ni heuais i ond gwŷg a gwagyd,
Er hyn cês fedi pori o'u puryd,
A derbyn fyberwyd fy burwych.

3. Mi fum ddigywilydd rwyfi 'n gweled,
A hyn mewn gwall am gwnae 'n ddi golled,
Mi ddoes i berchen Cyfrwy newydd,
Drwy ryw fâth o rith Goneftrwydd,
'Nghylch gan deilynged wrth bob rhefwm,
A chyflog Ffidler, briff neu offrwm,
Ond tippyn mwy llaw-drwm i'w 'm lled-rith,
Fe ellir offrwm prês geinhiogai,
A minne 'n gofyn cwrs o fylltai,
Ni thalai mo'r carrai i'm wŷr cyrrith.

4. Fel hyn y trewais wrth waed rhywiog,
Cael mwy na'm difgwyl modd di yfgog,
Am hyn rwi 'n talu diolch ufudd,
I bawb yn gwlwm fel ei gilydd,
Ac yn neillduol rwi 'n ddyledus,
I Harry aer F'ew'rth Edward Mofes,
Mewn grymmus hôff 'wllys ni phallodd,
Ar gair yn amal a geir fel 'n yma,
Odid Fab ar Dâd ymendia,
Ond hwn o'r howddgara rhagorodd.

5. Am gywir aerod y gwŷr erill,
Nid oeddent yno gwedi ymgynull,
A phed fafent nid ŵi'n ame,
Nad oedd eu hwllys da fel ynte,
Ond am y Tadau hyn a ddweuda,
Ond ceifio eu rhoddion cês o'r rhwydda,
Heb ofio fy naga am fy nigwydd,
Cael Cyfrwy o eiddo 'r tri gwr diddrwg,
I foddio Mr. Uchel Olwg,
Mae 'n amlwg drwy gilwg Digywilydd.
6. Nid oedd fy mryd i wrth ddechreu 'ch cynnyg,
Am ofyn dim ond Cyfrwy 'n unig,
Ond fel y cododd trachwant blyfig,
I gwyno am Ffrwyn wrth ganu 'n ffreinig,
Tybio 's cawn i 'r naill yn hwylus,
Y cawn i 'r llall heb ball yn bwyllus,
Mynd fellu 'n awyddus rwi'n adde,
Er bod yn wladaidd hi aeth yn lewdid,
Am ddau Gyffylog ar un ergid,
Mi ledais mewn rhydid fy rhwyde.
7. Fy nghan nid allai ganmol moni,
Er bod yn ennillwr arni,
Rhyw demptafiwn taer a'm twyfodd,
A minne 'n medru teg ymadrodd,
Yn chwant y cnawd a'i wnniau rheibus,
Drwy hud, a lledrith rhy dwyllodrus,
Traws wllys rhyfygus a fagodd,
A chwedi ymddwyn trachwant trecha,
Ar y fagal wammal yma,
Yn ol ei rwyfg arwa 'r efgorodd.
8. A dyma ddiben eich holl ddobor,
Sydd i'ch anrhegu heb ddim yn rhagor,
A phei medrafwn ganu amgenach,
Mi ddanfonafwn yn drefnufach,
Dyn wyfi fy 'n llawn trafferthion,
Yn ymbalu a phob helbulon,

Heb

Heb fawr ddyddiau gwylion 'm galwad,
Fel hyn mae 'r gân a geir o'm gene,
Fel y dêl nid fel y dyle,
Nid chwaith fel y mynne 'nymuniad.
9. Diolch mawr yn awr yw nyri,
Dwl yw f' echwyn a dalaf i chwi,
Diolch pur mewn ystyr wastad,
Diolchgarwch am eich cariad,
Bendithion fel y gwlith gafodydd,
Fo 'n eich calyn o un bwygilydd,
Am wneuthur i brydydd ran brodyr,
Duw ro i chwi hiroes enioes unol,
A llwyddiant ar eich da presennol,
A bywyd iachusol a chysur.



## Cerdd arall ar yr un Mesur i Annerch, Mr. *Edward Foulkes* Ystiwart glo Mostyn, yr hwn oedd bén Cyfaill prydyddion, a phan glywodd ef y canu uchod a wnelsid i'r *Edwardiaid*, fo duchanodd yntef na chowsai fod yn un a'r gwŷr, i roi cengl neu rywbeth wrth y Cyfrwy i'r prydydd.

A Chenais fel y mae 'n canlyn.

XV.

1. MI glywais ddweud rhagorol newydd,
A barai i'm lonni o bur lawenydd;
Fod Edward Foulkes fy mrawd cariadus,

Am

A'm hen gyfell well-well wllys,
I'e clywais' iddo gwyno ei golled,
Na basai ynte, 'n un o nhenantied,
A'i henw ar y pared ŵr pura,
Fel hyn y dweudai 'r hael ŵr syber,
Gyda'i Gyfrwy basai 'n bleser,
Gan inne roi Crwpper i'r Creppa.
2. Meistr Digywilydd oedd yn gwrando,
Fo glywai ei siarad i'w gysuro,
Fo synnai ofyn iddo 'n ufudd,
Farch i gario 'r Cyfrwy newydd,
Meistr Gonestrwydd daeth i atteb,
Fod hynny 'n ormod anghysondeb,
Di wnei di 's cei rwydeb ddyreidi,
Ni fedrai mo'r bodloni i gnafiaid,
Wneud cymaint cam a gŵr diniwaid,
I godi begeriaid yn gowri.
3. Ar hyn Digywilydd a droed allan,
Ni chae fod ar y cwest yn ffor-man,
O ran fod ynddo awydd gormod,
I ofyn dobor di gydwybod,
A Mr. Gonestrwydd a gymerwyd,
I fynu 'n fforman fe' i conffurmwyd,
I fynd yn ddi arswyd i'w orsedd,
A Mr. Angen hir ei bregeth,
A synnai 'n rheibus ofyn rhywbeth,
Gan Mr. Ffoulkes heleth ŵr haeledd.
4. Mr. Gonestrwydd a ofynne,
Pa beth yw y rhodd ach boddia chwithe?
Mr. Angen, ond pâr o Fwttiws efo 'r Cyfrwy,
A fyddai 'n ddigon cymmeradwy,
Eber Gonestrwydd paciwch ladron,
Pa beth sy 'n witsio 'r gwyr boneddigion?
Chwi wnewch lân ei galon yn gwla,
Roedd Uchel Olwg ynte am rywbeth,
Ond

Ond bod yn erbyn ei naturieth,
Ymyrreth ac areth 'beggera.

5. Gosodwyd cwestiwn ar ei gyfer,
Am ei sôt yn hyn o satter,
Gwyllysiodd ynte 'n bur deimladwy,
Gael Clustog wrth ysgil y Cyfrwy,
Ac nid oedd Mr. Uchel Olwg,
Ddim am seggio honno 'n amlwg,
Ond drwy ryw daer gilwg dirgeledd,
Ar hyn Gonestrwydd aeth yn guchiog,
I hel y cwest yn garpiau lleuog,
Rhy sachog a chwannog yw 'ch 'winedd.

6. Fe rodd y Mr. Foulkes haelionus,
Lawer iawn i'r Prydydd eusus,
O Lwytheu o lo da groeso gwresog,
Hyn oedd orfoledd hin oerfelog,
Ond rheitiach talu diolch iddo,
Am hyn na cheisio chwaneg etto,
Rhag briso a dinistro Gonestrwydd,
Digywilydd etto ofynnodd genad,
Gosus ŵr a gae so siarad,
Rhowch yma ar ddwys dorriad ddistawrwydd.

7. Ar ol i'r cwêst roi gosteg iddo,
Dyma ei reswm yn ddi ruso,
Lle casso cymro cais drachefen,
A hawdd yw gosyn rhoddwr llawen,
Ebr Gonestrwydd minne wela,
Mai ceisio wnewch lle cewch i swya,
Mae castiau mal yna 'n y mlino,
*Digwilydd:* Ni wiw mo'r gosyn rhodd gan gerlyn,
Nid rhaid i chwithau o's ceir gan landdyn,
Nag achwyn na grasun na grisio.

8. Pleser Hael yw gwneud haelioni,
Dyna natur hwn a'i ffansi,
Oni bae fod ymbell lân ei galon,
Ni byddai ond ofer waith prydyddion,

Mae

Mae Ffoukes yn fwy na brawd i brydydd,
Mae 'n gefnder hefyd diwair ufudd,
Wrth Achau 'r carennydd cywireinia,
Mae ei lond o wir fyberwyd burlan,
Ei euraid wllys da rêd allan,
Fel gwin dros y gwppan o'i goppa.

9. Mr. *Goneſt*: Nid ydyw canu ond gwagedd egwan
I dwyllo ffyliaid am eu harian,
Mr. *Digwilydd*: Nid ydyw arian nhwythau ond gwagedd
I ddwyllo 'r cyfrwys at ormodedd,
Mae llawer cybydd llawna caban,
Yn cafglu pentwr mawr drwy ffwdan,
I'r unfan o arian i er'ill,
Gwedi dyfod cod i'w afel,
Bydd hawdd ei rhifo 's â hi 'n rhyfel,
Rhaid gadel i wŷddel ei weddill.

10. Mr. *Goneſt*: Syr, mae 'ch ſiarad yn difglaerio,
Ond gormod awydd fy 'n eich duo,
Ond ydyw 'n orthrwm cwlwm caled,
Ofyn March i'r gŵr gan hyfed,
Mr. *Digwilydd*: O's darfu gofyn gormod cyfri,
Haws yw goftwng peth na chodi,
Mi a gymrwn lai gwedi o'i law gadarn,
Gwnaeth Mr. Angen gynne ei gyffes,
Am Fwttiws dyna ddwad nes-nes,
A'r bufnes mewn dyfes mwy difarn.

11. Ond rhaid i Mr. Ffoulkes gydnabod,
Ein bod ni 'n gwneuthur cwêſt cydwybod,
Cymheryd Bwttiws yn lle Ceffyl,
Fo gadd ei ffafro a'i Safio 'n fuful,
Mr. Goneftrwyddd ŵr tofturiol,
Achubodd iddo 'n d' oedd o'n weddol,
Dair pynt yn wybodol neu beder,
Am iddo gwyno 'n yr achos yma,
Roedd yn fy mryd i yrru fo i'r eitha,
Am Geffyl llawn groppa 'n lle Crwpper.

12. Roedd

12. Roedd Meiſtr Uchel Olwg enwog,
Yn leicio 'r Bwttiws yn lle cluſtog,
Ar bul a wnaed ond eiſiau arwydd,
Henw a ſêl Mr. Goneſtrwydd,
Ebr Goneſtrwydd ceiſiwch Fwttiws,
Ni waeth ped ſae 'nhw o grwyn pytattws,
Yn gwplws i gorpws mo'r garpaidd,
Digywilydd a'i hattebai 'n danbed,
Y mynnai fo grwyn dyniewaid blwyddied,
Fel melfed a gweiried yn gwyraidd.

13. A rhaid eu cael nhw wrth feſur cymwys,
Yn ddigon helaeth ac yn hwylus,
M'ae hyd y gwadan lydan leder,
Yn dippyn byrrach na thri chwarter,
A'r goes ychydig llai na llathen,
A mwy ei phybyrwch na phabwyren,
A ſawdl hir galen wegilog,
A'i gwneud nhw 'n eſmwyth i'w gymalau,
Mae ei draed yn geimion ar eu hochrau,
A i fodiau a'i figyrnau fo 'n gorniog.

Mr. *Goneſt.* Peth cymwys iawn i ŵr yn beggio,
Gymryd rhodd y modd y caffo,
Ond gwir yw 'r hen ddihareb hynod,
Mae 'n anhawdd rhyngu bodd bedlemod,
Goneſtrwydd oedd yn blino 'n gwrando,
Am fod ei ryfyg yn ei rifio,
Dechreuodd ei ddondio am ei ddwndwr,
A chroeſi ei henw o'r llyfrau 'n fuan,
Rhag ofn cael gwradwydd mawr a gogan,
I ffwrdd o'r cowrt allan a'r twyllwr.

15. Er hyn Digywilydd yn y diwedd,
Am gario ei ran yw'r gore ei rinwedd,
Y fo ydyw 'r gwr a feder gyrredd,
I ddwyn o g'ledi ddynan gwladedd,
Beth a dâl brawd i ſul, o brydydd,

Na ſedro galyn ffordd Digywilydd,
Hyd lle rhydd Goneſtrwydd gynhwyſtra,
Ond da ydyw bod Goneſtrwydd heſyd,
Rhag i Ddigywilyd gyrraedd golud,
Trais ynfyd, tro ehud, mewn traha.

Tair coron gron, yn gryno,
Coſtiai i'r gŵr caſt o'i go.



# Cerdd i ddiolch am y Bwttiws; ar y meſur elwir, Conceit y Prince *Rupert.*

## XVII.

1. WEL dyma ſyberwyd lon hyfryd lan hardd,
Cael Cyfrwy a Ffrwyn eur-dlws a Bwttiws i'r (bardd.
Pwy ae 'n yſlyſen penna ſlaf?
I wiſgo clocs a 'ſgudieu clâf,
Gwell gennyf ganu hyd yr haf,
Ond braf ydyw 'm bri,
Taro wrth frodyr tirion,
Wŷr howddgar eu hanrhegion,
Hôff rhadlon a ffri,
Mawr dryſor a roeſant o'u meddiant i mi.
2. Mi geibiais, mi balais, mi 'm boenais a'r byd,
Mi heuais, mi fedais, mi rwymais yr ŷd,
Er chwſu ar waith ni chês i erioed,
Mo lwybyr Mammon yſgafn droed,
Mwnws rhydd i mi nis rhoed,
Er hyn doed a ddêl,

Nid ydyw 'r byd mo'r galed,
I'm gwthio i ddim gan gaethed,
Rwi 'n gweled heb gêl,
Y graig i'r wenynen yn ddilen o fêl.
3. Tra bytho tryforau pêr ffrwythau pur ffri,
Ar helw rhai haelion daw moddion i mi,
Ond cystal stôr ac ystad,
Yw rhagluniaeth ymhob gwlad,
Mae Duw yn danfon rhoddion rhâd,
Drwy ordinhâd glân,
Hau na medi 'n gynnar,
Na throi na thrin y ddaiar,
Ni wna 'r Adar mân,
Er hynny dan ganu, heb newynu byw wnân.
4. Pwy ddyrnai mewn 'fgubor esgobaeth na phlwy,
Mi gana ymbell benill bydd f' ynnill yn fwy,
Mi wn na fedd un o fil,
Gwir yw hyn o'r gwerin hil,
Un Esgus gwell nag ysgil,
I ddiogi ynghil pyst,
Na phrydydd gwan amcannion,
A derbyn dobrau mowrion,
Mae digon o dŷst,
Mai gormod o ffoledd i'm gymryd y ffust.
5. Ond etto rhaid peidio a beggio rhag barn,
Mae 'n ormod gwneud power gwyr syber yn sarn,
A Mr. Uchel Olwg mi wn,
Sy 'n gweled beggio 'n galed bwnn,
I ŵr mewn bwttiws anair twnn,
Yw 'r ffasiwn, waith ffôl,
Ac onide ni phrisiwn,
Er gwario hynny feddwn,
Mi eisteddwn ar stol
Mi fedra 'r ffordd rwydda, i'w hela 'n ei hôl.
6. Bu Mr. Ffoulkes enwog gymydog i mi,
Mewn calon nis ciliodd offrymodd yn ffri.

Fe wnaeth y Prydydd mennydd mul,
Gafa cwyn a'i goefau cul,
Fel gwr Bonheddig erbyn Sul,
Neu erthyl gwyr o waed,
Mi gefais Fwttiws newydd,
Da iawn o burion deunydd,
Yn ebrwydd fe eu gwnaed,
Yn llawn ddigon trefnus,
A luniaidd i m traed.
7. Ped fae 'r boneddigion a'u rhoddion mo'r hawdd,
A Ffoulkes, ni chawn fyned drwy ludded i glawdd,
Ond gwell gan rhain wario eu ftad,
Ar ddwylo Sais yn ddilefad,
Ni feder Cymro yn y wlad,
Gael trawiad i w trin,
Ei frefiad a gyfrifant,
Yn forod ni 'm gyfurant,
Ar fwyniant ei fin,
Pe byddai yn ei fennydd awenydd o win.
8. Ped fafwn i 'n gofyn i gyndyn o garl,
Y Bwttiws mewn llythyr a gwneuthur cryn barl,
Cyn yr aethai 'r gwr i'r gôft,
Buafai 'n fwy ganddo o fôft,
Fy ngweled i wrth y fflan-gell bôft,
Mae hynny 'n dôft iawn,
Beggio na rhyfygu, wrth f'wllys i rai fellu,
Na chanu ni chawn,
Am hynny at wr mwynedd da ei rinwedd yr awn.
9. Nid oes gan i bellach amgenach mi a'i gwn,
Ond diolch di weniaeth yn helaeth i hwn,
Y Mr. Ffoulkes ydyw fe,
Goreu ei rodd a droediodd dre,
'Dae ar fy llaw wneud eich lle,
Yn y ne, mi wnawn,
Hir iechyd a fo i chwi rhwydeb a mawrhydi,
U Daioni

Daioni a phob dawn,
O haelioni a syberwyd,
Fe 'ch lluniwyd yn llawn.



# Englynion a wnaed i Mr. *Edward Ffoulkes,* am ryw Luniau neu Pictures roddes ef yn Eglwys Llan Hasa Sir y *Fflint,* sef ei Eglwys blwyf ef.

## XVIII.

1. DUW 'r hedd, di gamwedd, Mae 'n gymwys,
'Wr haeddol---am rhoddion yn 'r Eglwys,
A'ch dygo chwi 'r goleuni glwys,
O Brydain i Baradwys.
2. Llun Dafydd, ufudd, afieth,---A'i delyn,
Dyna dalent berffeth,
A llun Organ burlan beth,
Dyn ydych a dawn odieth.
3. Angylion, gwnnion, a ganant---yn rhadol,
Anrhydedd a moliant,
Cewch gwmni naws heini sant,
Gannoedd mewn gogoniant.

*Hugh Jones a'i Cant.*

A



A danfonodd Mr. *Ffoulkes* yr Englynion uchod attaf finne i ganu chwaneg, a chenais fel y mae 'n canlyn.

XIX.

1. YMHOB part, Edwart, ydi---y goreu,
A garaf i'm cwmni,
Dŷn yw ef na adwaen i,
Mo'i lanach am haelioni.
2. Ond er hyn, dygyn, rwi 'n digio---I'm brawd,
Mwyn Brydydd weddio,
Gwan weddi i w foli fo,
Anhoff anwes na ffynno.
3. O's lluniau, delwau, di alwad---Aberthodd,
I borthi chwant y llygad,
'D yw 'r lluniau medd darlleniad,
A delw 'r faint ond dilefad.
4. Mawr haeddiad, am y rhoddion,---a luniet,
Yn eulunnodd mudion,
Nid oes wrth braw, athrawon,
Nerth rhad Duw 'n y weithred hon.
5. Etto gweddio 'n ddwys,---y rwi finnau,
O erfyniad gymmwys,
Am rodiad ymharadwys,
Er goreu mael i'r gŵr mwys.
6. Ond nid am lun, un, anian---at olwg,
Llun Telyn nag Organ,
Ond fylwedd un, ei hunan,
Sef *Shiloh* lwys a'i law lân.

7. Harddu a llyfnu 'r lle---a wna delwau,
A dylion gyfgode,
Er hyn mid mân degane,
A'n wobr noeth a neb i'r ne.
8. Nid rhedeg, anrheg, o un-rhith---roe 'r Gŵr,
Drwy gariad di gyrrith,
Ond beio ar Huw 'n bwrw rhith,
Llyfn rhowiograen llawn rhagrith.
9. Ffowces a rôdd, o i fodd ufudda.---Urddas,
I harddu Llan Hafa,
Accen mil a'i canmola,
Mewn llais têg am wllys da.
10. Gwnai gorlan y llan yn llonnach---Dŷn glan,
Ei arian ni eiriach,
Mi gwranta na bu grintach,
Nai rodd o'i fodd yn rhadd fâch.
11. Haeddai glod, parod, air pur,---Nid hefyd,
Am wneud Dafydd, papur,
Rhoi cerfiad ar y côr-fur,
Ddelwau mân i 'ddoli 'r mur.
12. Pe rhoefai lun, ei hun, heno---Wr difyr,
Er bod Dafydd yno,
O flaen Saint wedi baintio,
Addolai feirdd ei ddelw fo.



Cerdd

# Cerdd i ofyn Maen Leſtr môch, gan *Edward Mathews*, naddwr cerrig crybwylliad am faen llifo gan *Robert Roberts*; crybwyll *Edward Williams*, am ddwad trwy lidiart y clô, wrth bont Cyſyllte; ar feſur, Llêf Caer Wynt.

## XX.

1. FY ffrynd Edward Mathews, clywch gyffes,
I'ch coffa, hyd attoch fy meddwl,
Yn fanwl anfona,
Mi wn y rhowch oſteg, ŵr breudeg,
I brydydd; da gennych ei nwyfus,
Lafurus leferydd,
O ran eich bod yn caru ei waith,
Ar gynghanedd mwynedd maith,
Pe medrwn araith *Horas:* i nyddu,
Negeiriau 'n addas, fel 'falau ffrwyth pereiddflas,
Nid oes gan innau o nghwmpas,
Ond darnau crabas diras dôn,
Ond chwi a'u derbyniwch fel y bo'n,
Peth hawdd i'w cymmell cyfell cu,
Mewn anian hael, a minnau 'n hŷ,
Am hynny, rwyfi 'n tebyg, y galla'i wrth,
Fy rhyfyg, gyrraedd un o'i gerrig,
Am dani a bwriad unig,
'Dwy yma 'n cynnyg dim ond cân,
Dim pris ni fydd, mae 'r prês yn fân.

2. A'r garreg wy'n ofyn, mae 'r teſtyn yn tyſtio,
Fydd Leſtr yſgwarog, gryn ddulog a ddalio,
Ddau hobaid o olchion, llawn ddigon fydd honno,
Dim mwy at f' achoſion nid wyfi 'n ei cheiſio,
Yn garreg o ganolig ffrwyth, a gwylio ei bod,
Yn ormod llwyth, un eſmwyth hawdd ei chario,
Mae 'r wedd yn lleſg i'w llusgo,
Fel hyn y bydd hi i m boddio, ni ddo'i ddim,
Attoch chwi etto, drachefn i gwyno clulio clôch,
Mewn gorwag ſawl a'm garreg ſôch,
Oni bydd arnai ball, poenſa gwyn pan ſo gwall,
Am rhyw beth arall etto, o's digwydd chwant,
Fy hudo; hen gwſmer têg yn delio,
Geiff gynnyg ail ſargenio,
Ni ollyngwch heibio mo'no mi wn,
Ni ſeiddiwch chwi na ſoddiwch hwn.

3. Diſgwyliwch ganmoliaeth drwy 'r dalaeth mae
'N deilwng: i'w rhoi drwy gymwyſter,
Mae 'n rhaid i mi ymoſtwng,
Cydymmaith glân ydych yn fynych fel finnau,
Mo'r addfed i'r Llannoedd, a'r hwyaid 'r llynniau,,
Ac etto i harddu clymmu eich clod,
Ple gallai fyth, eich gwell chwi ſod
Yn goſod Cerdd yn gyſon,
A chodi meini mawrion,
Wel dyna ſolach ddigon,
Rwi 'n ſiſtio cael,
Y ſheſton, yma 'n union am y wnês,
I gadw maidd, ac ŷd a mês,
O's canai 'n ffel, rhaid coffhau,
Rhobert Roberts gyfaill clau,
I daro dau aderyn, tra bo fy ſaeth ar linyn,
Fe 'ddawodd i mi ers blwyddyn,
Faen llifo mae lle 'i ofyn,
Mi câf ſo heb 'raſun yn ddi ball,
I ffwrdd yn llwyth 'r un ffordd a'r llall.

4. Nid

4. Nid bodlon wyfi etto i goftio 'r un ddimme,
I 'r un o'r Ieirll eurdeg, fy nghile 'r llidiarde,
Ni chais Edward Williams wr dinam fy dyner,
Mo'r dal yn ei fagal, hudolun o feger,
Mi fynna 'm llwyth o wellhad,
Ar fy nhrol adre 'n rhad, ond te bydd nâd
Annedwydd: os arian eiff o'i herwydd,
A gwneuthur caniad newydd, bydd hynny 'n wir,
Yn arwydd, fod yr awenydd yn rhy wann,
Ni chanai fyth, i chwi 'n un fann,
Os ca'i gyflawni 'm dyri daer,
Ar feini da mi fydda 'n aer;
Nid rhaid i Gaer,
Mo'r gyrru, am hoxied hen ond hynny,
A'm harfau fydd yn rhydu, fyth bellach,
Ni chân ballu; bydd howfach medi llyfu lladd,
Drwy rywiog nerth y garreg nâdd.
5. Rhôf ddiolch caredig,
Yn ddiddig i'r ddeuddyn,
Duw a'ch mendio ac a ch llwyddo a'ch catto,
'N wŷch gyttun; ac eilchwaith am adwy,
Diolchaf i Edwart,
Pan ollyngo 'r bardd trwftan tra lledwan,
Trwy 'r llidiart,
Tri chydymmaith odiaeth ŷch,
Na fynnan fon am fyw yn fŷch,
Rhown i chwi ddrŷch a chyngor,
I gyrredd buchedd fobor, mwy gweddus,
I'w 'r egwyddor;
A chofiwch air yn rhagor,
I gadw gloyw ordor glân,
Tra fo 'n y ngho' i derfynu nghân,
Pan ddowch chwi 'n llawen i'r un lle,
I dŷ Sr John Heidden gre,
Di ammeu fe 'ch codymma,
Oni 'drychwch i atto 'n gwtta,

Mae 'n gâr i'r cawr *Goliah*,
'Does undyn o'r rhai sfowndia,
Mwya a'i cara yma a'i cur,
'Dae ſelyf ddoeth, a ſiol o ddur,

A'r Seiri meini, wŷr mwynion---Eu naws,
Mynnaſant yn union,
W'ir gyſannu r goſynnion,
A'r gwyn hyll yn y g..n hon.

# Cerdd arall ar yr un meſur i ofyn pâr o Olwynion, i Sion *Daſydd* o'r Gelli; gan *Edward Hughes* y *Barcer*, a'r Bothau gan *Peter Jones*, a'r gwaith gan *Humphrey Jones* y Saer.

## XXI.

1. EDward Hughes ydych yn glodwych,
Drwy 'r gweledydd,
Da oeſwr dewiſol ſy ddoniol ei ddeunydd,
Mae 'ch enw chwi ar gyhoedd, a miloedd,
A'ch mola; ymhell ac yn agos,
Pob un a'i mynega,
A mawr yw cariad parch a bri,
Tlawd a chwaethog attoch chwi,
A hynny i mi a ddengys; mae digon,
Drud a choſtus, gwir ydyw byw 'n gariadus,
Fe ddaw pob dyn rhyſygus,
At yr haelionus moddus mwyn,
Mewn adwy gaeth i wneud ei gwyn,

Eich

Eich hên gydymmaith llywaith llwyd,
Ar waith a'm rhoes i wneuthur rhwyd,
Danfonwyd oddi fynu, y cwyn a'r teſtyn canu,
A rhoddwyd i mi i'w lledu,
Awdurdod ym min Dowrdu *,
I ddal a thynnu, gyrru ar gais,
Frithylliaid dri, wrth allu trais.

* Dyfrdwy

2. Dych'mygion ni chanaf, gofynnaf yn fanwl,
I chwi mewn dull arall, cewch ddeuall fy meddwl,
Sion Dafydd o'r Gelli, mewn cyni fy'n cwyno,
A'm goed i wneud Certwyn,
Dwy olwyn, i deilo,
Chwi wyddoch fel mae 'n dwyn ei fyd,
Mai Hwſmon Trwſtan yw fe o hyd,
A Chigydd hefyd ofer, wrth geiſio twyllo,
Llawer; fo edwyn feddal dymmer,
Fo ddyſgai 'n well na'i bader,
Wers pob beger yn y byd,
Gwyr lle mae bras, ar hirllwm bryd,
Fe wyddai 'ch bod, mewn hynod hoen,
O natur rywiog fel yr oen; a diboen oedd,
Mae 'n debyg, darparu can i'ch cynnyg,
A'ch cymmell am eich cemmig,
A'ch edyn ryw ychydig,
A'i cael mewn rhyfyg, yma 'n rhôdd,
Heb werth y fael bydd wrth ei fodd.

3. Mae ganddo gwyn fyrbwyll, i grybwyll,
Yn gribog; rhoes attaf air nychlyd,
I w yrru i'r Fynachlog,
At Peter Jones ffyddlon, do 'n wirion dan warant,
Am gwpwl o glappie, da fothe di fethiant,
A rhaid cael Echel drafel drud,
Neu dwl yw nghân i'w dal ynghyd,
Dracht hefyd o drwch tew-fon,
I'w tynnu i fynu 'n foelion,

Er mowredd i fro meirion, cydtunwch fel
Cymydogion, yma 'n rhwyddion am eu rhoi,
Rhaid ofio eu cael nid oes yfgoi,
Ac ewch a'r deunydd clirwydd claer,
Yn ffres waith i Wmffre 'r Saer,
Nid oes nag aur, nag arian,
Na chyfri bul na chyfran, am naddu,
Gwaith anniddan; a bwytta ei fwyd
Hunan; i'w gwneud yn gyfan yma i gyd,
Ond rhoi iddo fawl bydd rhydda ei fyd.
4. A llathen a hanner, o uchder fydd iddi,
Rhaid llifo 'r ddwy efell fel tagell y Tyrci,
Pan elont i'r gelli o ymyl Llangollen,
Nhwy 'dryc!ant mo'r oleu a delwau,
Wrth rŷd alwen; Dafydd Prys a geiff y
Swydd; Pedoli rhain i deilo 'n rhwydd,
O's digwydd i'r cymydogion,
Er cariad wario coron i'w gwlychu ar ol,
Y gwreichion; fe geiff y gof yn gyfion,
Am guro 'r einion gwrw i'w rann,
Nes y bo fe 'n wir a'i ben yn wann,
Mi wn y bydd, y dydd, y do'n,
I feirion Sir fawr enw a fon,
Am gertwyn Sion o'r Gelli,
Nhw gadwont neithior iddi,
Par hyn i'r gof wallgofi,
Mynn ddeuddydd hir o feddwi,
A thridiau wedi i fobri 'n fŷth,
I'w cadw 'n ŵyl cyn codi o i nyth.
5. A chwithe 'r hael ddynion, fy 'n hwylio
Iddo ddeunydd; o's ewch i'r wledd honno,
Cewch groefo a llawenydd,
Edward Hughes hafedd, a Pheter Jones,
Hefyd; ac Wmffre Jones fedrus,
Glau foddus gelfyddyd,

Fe fyddai gwych gweld eich gwawr,
Chwi gae'ch orfoledd maswedd mawr,
Wrth bottio 'n llawr y Bettws,
Bydd yno wyr a mwnws,
A phawb dan arwydd Phebws,
Ac warpiad yn ei gorpws,
Yn canu corws fenws fwyn,
Yn tiwnio i'ch trol yn tynnu 'ch trwyn,
Ar dalar deg, pan y delo 'r dydd,
I deilo a chario a dwylo chwrŷdd,
Y Cigydd fydd a'r cogel,
Yn gyrru jee hwoch jewel,
'S gwyr undyn am ei hoedel,
A'i Cymro, Sais, a'i Gwyddel,
Fydd yno ar drafel elo ei drol,
Yn fawr ei fŵn gan ferw ei fiol.

6. Rwi bellach ar ballu yn canu ac yn
Cwyno; gobeithio y cyflawnwch,
Na ommeddwch ddim iddo,
Nid ydyw da byrfyd, a golud ac elw,
Ond gwagedd o wagedd oferedd i farw,
Cymwynas ferr lle gweler gwall,
Ynnillir llês y naill i'r llall,
Nid angall fyth y dengys, y weithred,
Lân haelionus; er gofyn yn rhyfygus,
Prydyddion fy'n wradwyddus,
Mae genau rheibus gan y rhain,
Yn codi ystray fel cidys drain,
Nid ydyw hyn o gyndyn gân,
Ond megis crawcciad brefiad brân,
Ac er mo'r ledwan ydi,
O's ceir cydnabod iddi,
Ni waeth y ddirym ddyri,
Na bul o ddwylo baili,
Neu fand y firi i fynd yn fiwr,
Y draul a'r gaingc, yw 'r drol i'r gŵr.

A'r

A'r gwŷr, ſu bybyr, bobol,---o'u heiddo,
Nhw haeddent eu canmol,
Am gwyn geiriau 'm gwan garol,
Sŵn drwg, nhw roeſon y drol.



# Cerdd Cyffuriau Phyſygwriaeth i'r Merched; ar Farwel Brydain.

## XXII.

1. POB geneth gynnes oleudeg lodes,
Sy 'n llawn o anwes boenes bêr,
Mae gan i i'r ewig phyſyg reol,
I'ch dal yn ſiriol deuliw 'r ſêr,
Chwi gewch gyfrwyddyd o'm celfyddyd,
Rhag ſyrthio i 'benyd c'ledfyd cla,
O's yw chwi 'n chwennych cadw 'ch onor,
Derbyniwch gyngor Doctor da,
Wrth ddilyn afiaeth, mabiaeth meibion,
Er mo'r hyſion yma yw rhain,
Cofiwch gwaetiwch hyn o gwttws,
Chwi fyddwch wendlws fenws fain.
2. Goreu cyffyr, dan yr awyr,
Yw llyſiau ſynwyr natur nâg,
Da eli nwydau di anwadal,
Wrth fodfedd feddal wamal wâg,
Cais di 'n ebrwydd, ſugn y gwradwydd,
Sy 'n calyn cywilydd, mowr chwydd merch,
A dwſr o ffynnon, rhybudd prydlon,
I ddiffodd gwreichion ſwynion ſerch,
Rhowch yn y ddiod, egin wermod,
Sef chwerwdod, anghlod, trallod drud,

Sy 'n tyfu ar felus, chwantau nwyfus,
Ar ol pleferus foddus fyd.
3. Llyfiau teimlad, a dail galarnad,
O Winllan profiad cais mewn pryd,
Gan fenyw fwynedd, fy a'm chwareu 'r llynedd,
Y leni 'n glafedd, yn y glud,
Pwys o 'ftyriaeth oddiwrth drwblaeth,
Blinder mammaeth odiaeth yw,
A 'ch ceidw 'n gryno, rhag bol-chwyddo,
A gwyneb lwydo 'n carrio cyw,
Dincod crabas, geiriau fych-gras,
Eich Tylwyth atgas diflas doeth,
A gwreiddyn fforchog, meddwl gwibiog,
Eich cariad dau wynebog noeth.
4. Wns o fobrwydd o fiop cyndynrwydd,
I g'ledu 'ch 'mennydd lledrydd llwyd,
Briallu glendid, blodeu ieuengtyd,
I attal rhydid, taflu y rhwyd,
Llyfiau fiampl, o bentref gofal,
A dail dwyn dial, magl merch,
Tripp y forwyn, a drych anffortun,
I oeri berwyn fydyn ferch,
Dail cydnabod parch morwyndod,
A gwerthfawr glod rhianod rhydd,
Dail cof daw cyfri, a'ch ceidw 'n ddifri,
Rhag i chwi doddi nos 'na dydd.
5. Wel dyna 'r cwbwl o fy' meddwl,
A'i chwilio 'n fanwl i chwi 'r fun,
A hyn fy wrth yftyr cnawdol fynwyr,
Yn erbyn delw natur dyn,
Nyni fy 'n ferchog, ac yn chwannog,
A chwithau 'n rhywiog, ac yn rhwydd,
Ond gwell ymgroefi nag i'r direidi,
Ymddangos wedi a chodi 'n chwydd,
Am hyn pe cofiech, pwyll a gymrech,

Fe

Fe allai ſobrech, byddech beth,
Mewn ofn a dychryn, rhag i'ch corphyn,
O ſwynder undyn ſynd ar ſeth.



## Cyngor i ferched, ar ddull arall, ar Don elwir Suſan lygad-ddu.

### XXIII.

1. POB geneth ſrigog ſerchog ſwyn,
Fun glan ſeinglws ſenws ſwyn,
A ddelo wrth archiad codiad bŷs,
I garu o'r llŷs, i gwrr y llwyn,
A phob merch addfed gowled gu,
Sy am ddal fel craig a meddwl cry,
Ac etto a'i natur yn llawn gwrês,
Pan dwymno 'n tres, di ameu trŷ,
Rhyw ffolion benhillion cynghorion,
Arwyddion rwi 'n roi,
Na wyſlwch mo'ch war,
I undyn a'ch câr, nes darfod yn glaiar,
Ei gloi; y pura a'r cywira,
Ac yn gynta mi a'm barna fy hun,
O's torrwch ei flys, cyn rhwymo
Mo'i ſŷs, nid hanner mo'r owchus, yr un.
2. Pan ſo gŵr heini, 'n berwi o chwant,
Mae 'i chwithau goſio yſgriwio 'r tant,
Fe braw o'ch ſadrwydd ſobrwydd ſel,
Feluſach mêl ar flas eich mant,
Pan gaffo gwalch Bendefig bâs,
Ei lawn ſodloni ar gangen lâs,

Mae

Mae arall medd ei ffoledd ffug,
Dan wall a blyg, yn well ei blas,
Ac fellu, lloer wengu wrth eich gwafgu,
'S eich plygu, chwi wneir,
Fe'i ch gelwir yn ffôl, gan ddweudyd o'ch ôl,
Gwenn arall ragorol a geir,
Pan fynnir, gadewir, chwi meinir, ni yftyrir,
Pa 'ftad: yn ymddwyn un bâch,
A'r carwr yn iâch, 'does hayach,
Ei loywach drwy 'r wlad.

3. Cyff'lybai 'ch natur yn eich gwrês,
I dŷ gŵr diog fwrth di lès,
Uwch ben ei Annedd oeredd o,
Mae purion tô, tra parhao 'r tês,
A chwithau 'n tybio 'ch bod fel y dur,
Neu fel y Maen o fol y mur,
Tra byddo 'r Mab yn oer ei lais,
Heb droi mewn cais i drymma cur,
Pan elo i daer geifio, ac 'ich moedro,
Wrth deimlo 'n ŵr dwys,
Mae natur yn glâ, hi dawdd fel yr Iâ,
Neu Gafeg o eira ar y gwys,
A chwedi 'ch bron heini, fyrth arni,
Rai defni bob dydd; pan welwch y fo,
Ar ol rhoi chwi dro,
'N gwllyfio cael rhodio 'n ŵr rhydd.

4. Ac yno 'r tafod, mawr-glod mwyn,
Oedd gynt fel melfed yn y llwyn,
A dry fel fâch o liain brâs,
Neu garthen gâs a gwrthun gwyn,
Ni fydd mo'r blŷs na brŷs na braw,
Ynghanol oed i anghenu ei law,
A chwedi llygru a lledu 'ch llun,
I 'ch cwmni 'r fun pa Ddyn a ddaw,
'Rhai ferwant o nwyfiant a thrachwant,
Ymrwyfant am Wraig,

Er cymmaint eu cur, nid ydynt mo'r bur,
Eu natur at sawyr hen saig,
Cewch gwynfan a gruddfan mewn gogan,
Dan duchan yn dost,
Ni phoriff yr ŷch, pan ddelo fe o'i rŷch,
Mo 'sborion y bustych wrth bost.
5. Pan syrthio cangen yn ei nwy,
Och! oera ei chlod, bydd chwerw ei chlwy,
Nid oes un geirda croywa crêd,
O unlle rêd i wenlliw 'r ŵŷ,
Pe troe mewn buchedd sanctedd sail,
Wedi cwympo a d'wyno eu dail,
Ar ol y codwm cynta i'r fun,
Ni choelia 'r un ' gochelai 'r ail,
'S â i rywle, i blith llangcie,
Cariade a'i gwele hi gynt,
Y rheini 'n rhy lân o'i chwmni hi 'r ân.
Ac heibio iddi rhedan' ar hynt,
A'i gado, hi suro, heb osio na 'i thrwyno,
Na'i thrin:
Llychwinodd ei chlod, allan ceiff fod,
Ar gafod yn rhyndod yr hin.
6. Pan ddyrner brig y dwysen dês,
Ar y llawr diffrwytha ei llês,
Byth ni ail flodeua ei dawn,
Ni leinw ei grawn, ar law na gwrês,
Pan drippioch chwithau 'n wysg eich cefn,
I bla mun lwys ar blymmen lefn,
Ni chodir byth o'r llaid neu 'r llwch,
Mawr i chwi 'ch trwch mor wych eich trefn,
'N ymddifad, cewch warchad yn wastad,
Heb gariad na gŵr;
Y ffynnon wen glir,
Er cyrchu iddi 'n hir, a beffir os d'wynir y dŵr,
Pob croyw ferch hoyw sydd heddyw'n bur loyw ar,

Y lann; deliwch yn dynn, a chofiwch am hyn,
Nes cychwyn yn llinyn i'r llann.



# Cerdd o gyngor ac o rybudd i feibion a merched ar yr unrhyw achos, ar Ammor elis.

## XXIV.

1. POB carwr ferchog rhywiog rhwydd,
Trwy anwes fydd yn trin y fwydd,
O wafgu cangen lawen lwydd,
Mewn awydd i'r wenn ewig,
Gwaith peryglus iawn dros ben,
At odrau gwenn ymgynnyg,
Rhag na fedr mo'r naccau,
'R wenithaidd frau enethig.
2. Ac etto o'r merched têg eu llun,
Ni fernais fod un fenws, fun,
Yn cymmell neb o honi ei hun,
Temptafiwn dyn fy 'n twyfo,
Mi farna 'n bur, mai ein natur ni.
Yw llochi a chofi a cheifio,
A natur benyw loyw liw,
Er ei doethed yw yftwytho.
3. Mae llawer hoywedd fwynedd fun,
Yn barod i'w gwarantu ei hun,
Na cheir mo'i denu gan un dyn,
Er allo gwyn na gweniaeth,
Ac ar ei gwarant bydd dwy fel,
Diogel waredigaeth,

Un o hufen hyder hwyr,
Ar llall o gwyr naturiaeth.

4. Ac yno 'r gangen lawen lon,
Wisgi a rhwydd pan wasger honn,
Wrth ei chowleidio a brydio ei bronn,
Bydd etto wreichion trachwant,
A rhain a dawdd y cŵyr sydd wann,
Yn union pan enynnant,
Yngwres carwriaeth, mabiaeth mel,
Agorir sel ei gwarant.

5. Y merched gw'nnion loywon lu,
Rwi 'n chwennych taro ar eich tu,
Rhag ofn eich bod wrth garu 'n gu,
Yn ddelwau rhy feddalion,
Hyn a drawodd yn fy mhenn,
Ordeinio fenn i'r dynion,
A'm fod o rhai'n (pan gaffont le,)
Rai diriaid weithiau ''n daerion.

6. Y llangciau hoenus nwyfus, nerth,
O's gwelwch surfen swgen serth,
Am osod allan wâr ar werth,
A rhôs y berth, i Borthmon,
A'i gogwydd at y clawdd yn drwm;
A'm gymryd codwm bodlon,
Gochelwch rhedwch rhag ei rhwyd,
Yn hon fe dagwyd digon.

7 Neu os hudwch feinwen glirwen glaer,
Drwy fwynder dwys wrth fynd yn daer,
Gwedi i'r ferch eich gwneud yn faer,
A chlymmog aer ei ch'lommen,
Na throwch mo'ch gwegil chwrewch ei'ch part,
Nid ffoi fel cowart cywen,
O's tâl hi 'menthyg pam na thâl,
Hi gadw 'r âl drachefen.

8. Rhyw fatter yw, ynfytta 'rioed,
Anffurfio geneth Ieuangc oed,

Wedi

Wedi ei themptio a thrippio ei throed,
Drwy ei dwyn i goed a i gadel,
Landio 'n walch i Lundain wenn,
A hithe a i phen wrth fuddel,
A'i tybied na ddaw cyfrif tynn,
Ryw drofa a'm hyn o drafel.

9. Efg'lufo 'r gyfraith bod yn lew,
Na chaffo dynion dynnu eich blew,
Wrth ffoi rhag Arth cyfarfod Llew,
Mwy dig a thew ei dagell,
Fel y pyfgodyn gloyw-wyn glân,
Yn neidio i r tân o r badell,
Neu r ŷch rhag dôl a redo 'mhell,
Ddaw 'n gynt i gell y gyllell.

10. Nis gwyddoch chwithau pa ddrwg lâm,
A'ch cyferfydd 'herwydd pam,
Gwneud echryfhaint, cymmaint cam,
A meinir am gymwynas,
Ond goneft gyfri 'r bryntni a'r brâd,
Mae fel trofeddiad Suddas,
Cufanu gwen ireiddwen rwydd,
I'w dwyn i aflwydd diflas.

11. Pob merch ymroed yn oed ei nwy,
Gwybyddwch hyn o s boddiwch hwy,
Y chwi fy fiwra o gael y clwy,
A'ch gwthio i'r adwy gaetha,
A chwithau 'r dynion na wnewch dwyll,
Drwy 'r weithred ammhwyll yma,
A'r merched br. f, ammherchu bri,
Y gw'nnion leftri gwanna.

12. Merch ydyw 'r wanna gwaela ei gwedd,
O gnawd ac yfpryd hyd ei bêdd,
'Does fawr o rŷm, mewn dim a fêdd,
Ond yr etifedd tafod,
Gochelwch chwithau 'r llangciau llon,


Nes

Nes rhwymo hon i'r ammod,
Wneud achos magu esgyrn mân,
I'r un o'r glân rianod.

## Cerdd ar Kings and Farwell cyffes gwr Ieuangc at ei gariad.

### XXV.

1. UN dyn ydwyf yn dwyn adwyth,
Mewn gwan osmant go anesmwyth,
Yn caru bun rwi 'n curio beunydd,
A'i harwain heb fod nes o'i herwydd,
Ymboeni i garu 'n ben agored,
Ond hyll a blin yw 'm tywyll blaened,
Sef cariad dall mud a mall,
Ond angall yw 'r dynged,
Ryw fodd ond mawr na fyddai 'mwared,
I dorri 'm cwlwm hir derm caled,
Gwilio 'n ofer gwael yw nyses,
Caru meinir oer ei mynwes,
Pa beth a dâl, y swyddan fàl, a'r gofal a gefes,
Oni cha'i 'r ferch o'i serch y clwyfes,
I mi 'n ddiogel fwyn feddyges.
2. Cyrchais attad o ferch itti,
Yn hoff unswydd, hyn oedd fy ffansi,
Dan dybio mod am nod dan aden,
Fy nyweddi addfwyn oedden,
Ond trwm iawn immi trammwy 'n amal,
At un wydyn wyt adwadal,
A minneu a'm bron dyner donn,
A'r foddion rhy feddal,

Yn methu troi mewn eitha treial,
Er hir fygwth hon i'r fagal,
Dywaid bellach imi 'n bwyllus,
Yr wyfi 'n difgwyl eitha d' efgus,
Pa faint o glod, yn niwedd nod,
Gei di am fod yn gyfrwys,
Ar ol hir wrando 'nghwyn anghenus,
Ac etto 'n gommedd gwneud yn gymmwys.
3. A oes gwirionedd gan ti a'i peidio,
Dywaid o allan i'm di dwyllo,
Nid oes dim arall a'm bodlona,
Mewn tynn ammod ond hwn yma,
Yr ŷm ni 'n hen i ddal murfendod,
A drygu mwynder drwy gymmhendod,
A charu o chwith, yw gweniaeth brith,
Dan rith o ryw draethod,
Mewn aml eirie mae beichie o bechod,
Wrth ymlud ofer wamal dafod,
Be dâl gwrhydri gwag a rhodres,
Mo'r oer yw delio ar eiriau diles,
Er maint a chyd, yftrayau 'r byd,
I'w troi hyd, y treies,
Nid oes yn niwedd caingc pob cyffes,
Ond ie a nage, i wneud y neges.
4. Y fi fy 'n ffol a thithe o ffanfi,
A'm wra 'n gall neu oreu ac elli,
Ond pam na allefit er yftalwm,
Yn ddi betrufo atteb rhefwm?
Cyn i arwyddion cariad wreiddio,
Rhoddaift genad iddo egino,
A'i dorri fo, a wnei di i'r gro,
Ac ynteu 'n blodeuo,
A'r ffrwyth ymron ymddangos arno,
Mae 'n anhawdd diodde niweid iddo,
Perl yw cariad yn y clorian,
A bwyfa 'r byd i gyd yn gyfan,

A thithai mi wn, dyna dwnn,
Am wrthod hwn weithian,
A rhoi i w berchennog ammharch anian,
O i gu fagu, mi gâf ogan.

5. Nid dy gyfoeth a wnaeth immi,
Yma 'th ddeffol, chwaith na 'th hoffi,
Nid dy lendid hardd 'ymddygiad,
Nid dy wrid na 'th hoyw droediad,
Nid dy fynwyr na th gufane,
Na 'th rinweddol nerthol wrthie,
Ac nid dy glod, ond barna fod,
Yr hynod wrth-ddrythe,
Hyn oll yn weddus, rwi 'n llawn adde,
Mae da ydynt mwya node,
Gallafwn gael y rhain a u rhinwedd,
Mewn un arall fy mun waredd,
Ond cariad cu, er hyn ni thŷ, i fynu mo'r fwynedd
Am fod ei wreiddyn dygyn-tegwedd,
Yn dy gu fynwes, di 'n gyfannedd.

6. Moes dy fwynder dyner wyneb,
Di gei fwynder da gyfundeb,
Moes dy gariad mwys-deg eiriau,
Di gei gariad pur gan innau,
Moes dy galon gochel gilio,
Moes dy law gad inni ymrwymmo,
Moes dy gred, gywir ged,
Rhag bod dylêd etto,
Cei law a chalon cred heb wrido,
Tyrd i'r ddôl a doed y ddelo,
O s byddwn diwid a di awydd,
O's byddwn gall mewn diniweidrwydd,
Cawn gan Dduw Tad bob gwellâd,
Cynhaliad yn hylwydd,
Ni bu rioed ddiffyg, ar fodlonrwydd,
Mwyn da yftyriaeth mewn diftawrwydd.

Un



# Un arall cyffelyb i'r un ystyr ar gwel ar adeilad,

## XXVI.

1. YSTYRIA fenws 'dirion, bydd ffyddlon,
Clyw fy 'ngwynion claf anghenog,
Dyn wyf fy 'n carrio cerydd,
O'th herwydd llon ei dwyrudd,
Rwi 'n llawn flinderog,
Am gwyn: Rhyw 'ddolur wyf i'w ddwyn,
Dy ferch a'm clwyfodd,
Wrth hoffder gwirfodd,
Ryw fodd fo fagodd,
Oddiwrth dy 'madrodd mwyn,
Mae gennyt im o's mynni,
'Lufeni eli fwyn,
'Sgafnhau: fy ochenaid am hiachau,
Sydd ar dy ddwylo, a'm gwir gyfuro,
O's meiddi fentro i ymrwymo dan yr iau,
Hyd at wahaniad ange, fy'n rhifo dyddie dau.
2. Pan greuwyd mab o'r graian,
Nid cymmwys oedd e' i hunan gan Dduw i'w henwi,
Nes, tynnu merch o'i yflys,
I'w huno 'ngardd paradwys a'u priodi,
Un dyn: Gan ddwylo Duw ei hun,
Yn ddau a dorrwyd, a'r ddau 'r un ffunud,
Yn ddau anwylyd, un lendid ac un lun,
Duw eilwaith a'u cyfylltai, eneiniai 'r ddau,
Yn un; hyn a fu: dechreuad cariad cu,
A natur nwyfus, fydd etto a'i h'wllys,

Er mo'r helbulus, yw 'r byd ffwdanus du,
Priodas urddas hardda, yw 'r ſtat gyſona ſy,
3. Fe 'n lluniwyd o'r un priddin,
Yn fonedd a chyffredin er bod mawrhydi,
Nid ydyw bydol gyweth,
Tir glynnoedd, ond rhagluniaeth, Duw 'r goleuni,
I rai: Rhydd olud tir a thai,
Er bod eu dechrau,
Mewn iſel freintiau,
Gan oſtwng graddau,
'R lleill i feddiannau llai,
I ddangos pwy ydyw hwyliwr,
A thrinwr llanw a thrai,
Wrth hyn: Ond ſyniad ofer ſynn,
Yw rhoi 'n ferchiadau, ar gyſgodau,
Anwadal bethau, fel llithrig donnau llynn,
A chwyth y gwynt yſtormus,
Fel manus ffordd y mynn.
4. Bydd rhai 'n priodi meuſydd,
Dan gwlwm at eu gilydd, tir coedydd cydiant,
Ac eraill rhwng dwy goffor,
Priodas Uchel onor mewn awch a luniant,
Rhoi dau: Drwy awydd dan yr iau,
Erioed na buon mewn undeb ffyddlon,
Dan warrog Mammon nid cyfion yw eu cau,
Heb gariad gwir i'w gyrru,
I ymglymmu yma 'n glau,
Eu da mawr: O's rhai'n a lithra i lawr,
Wrth fyw 'n afradlon, fe dry 'r 'madroddion,
Yn eiriau duon, blaen ſurion blin eu ſawr,
Bydd chwrnu a mynych oernad,
Ananad bob pen awr.
5. Am hynny meinir hynod,
Na char mo'r hyn ſy'n darfod, ac iddyn derſyn,
Yſtyria am gariad perffeth; pan baſio,
Pob hudoliaeth daw hwn i 'n dilyn,

Nid

Nid oes: gan i na mawl na moes,
I ganu bwrdwn drwy temptasiwn,
Fel i'th hudwn er credu cwestiwn croes,
Ond cofia mae gwirionedd, sy ddwysa 'niwedd oes,
Nid a: I'th gyff'lybu i gangen ha,
Nag i'r planedau, na'r hen dduwiesau,
Na'r merched gorau,
Oedd bell mewn doniau da,
Hên chwedlau coeg celwyddog,
Llais euog nis llêshâ.

6. Mwy melys i'm na moliant,
Yw dweud y gwir yn bendant,
A gwyneb undeb,
O's mentri, meinir lywaith, heb weniaith,
Hôff lawendaith, cei ffyddlondeb,
Ryw fodd: Fy mryd i'th garu ymrodd,
Er nad cymhesur i'w mawl pechadur,
Rwi 'n barnu 'n gywir fod meinir,
Wrth fy modd,
O's daw i'm rhan mi a'i cara,
Ac a'i gwela 'n rhydda rhodd,
Heb ffoi: O's wyt yn dweud y doi,
Mewn cariad ffyddlon, yn gwbl fodlon,
Na âd i athrodion,
Maith drymmion yma 'th droi,
Na chwdlyd chwedlau byrbwyll,
Dig ffrewyll, dy gyffroi.

7. Le bytho ffansi a phurder,
Ni wiw mo'r siarad llawer,
Mewn ofer afiaeth,
Cyd lynwn yn galonnog, dan gwlwm,
Hardd goreurog hir garwriaeth,
Ond ffrwyth: gwir gariad maethiad mwyth,
Yw 'r holl drysorau, cawn ein cyfreidiau,
O'r byd heb ammeu a'i bethau bob yn bwyth,
Ni waeth hyn o's byddwn fodlon,

Nac

Nac aur melynion lwyth,
Tro tro: bydd ffyddlon ac na ffo,
A phwyntiwn ddiwrnod, i'm gyfarfod,
I 'mrwymmo i'r ammod yn briod yn ein bro,
Fy meinir dros derm enioes,
Boed hiroes byrroes bo.
8. Dewisais di o'r merched, i'th gael fy mun,
Wen gowled i mi 'n ymgeledd,
A blin yw cerydd cariad,
A thremio ar dy lygad arail agwedd,
Dy liw: Tiriondeb gwyneb gwiw,
Dy raddol ruddiau, dy ddinam ddoniau,
Dy fêl wefusau, dy wiwlan aelau yw,
'R hudoliaeth megis delwau,
A weithie i'm bronnau 'r briw,
A rhai'n: Ond cael dy gwmni Cain,
A dry 'n orfoledd, i'm calon glafedd,
I'w chodi 'n hoywedd, mo'r gliriedd,
Iâch a'r glain; i ganu i ti bereiddiach,
Cysonach mwynach sain.

## Can Farwel i'w gwlad, gan dri chyfaill o gastell y wayn, pan oeddynt yn mynd i Lundain i drigfanu; ar Kings and Farwel.

XXVII.

1. CANWN ffarwel mewn hôff eiriau,
A phur undeb i'n hen ffryndiau,
Yn enw Duw o's byw a fyddwn,

Gyda'i

Gyda'i rwydeb ni a gyd rodiwn,
Ar ein taith mae 'n faith y llwybrau,
I dref Lundain gyw'rain gaerau,
Awn ein tri, hoff frodur ffri,
Drwy gariad bri gorau,
Efo ein gilydd yn y gwyliau,
Ac yn buredig ein bwriadau,
Er nas gwyr un dyn ar aned,
Ond y gwirdduw hynt ei gerdded,
Pe gwyddem lai mae llanw a thrai,
Yn gyrru rhai i fyned,
A rhaid i bawb groesawu ei dynged,
Hen yftori yw hon i'w 'ftyried.
2. Ni waeth i ddyn pa dir a gerddo,
A meddwl Goneft gyda'g efo,
Mae mhlith dieithred barch a chariad,
I bob dyn cynnes da ei amcaniad,
A'r mentrwr yw 'r ynnillwr mwya,
Sy o union alwad hwn fy 'n elwa,
Lle bynna bo, draw ar dro,
'N llafurio am ei fara,
Llaw 'r gwas diwyd a gwaethoga,
A Duw o'i gynydd a'i digona,
Ac wrth drafaelio drwy orfoledd,
Cawn weled amal bethau rhyfedd,
Ac weithiau 'myfg, rhai Uchel ddyfg,
Dêg addyfg fwy gweddedd,
Nid yw 'n ddyfgedig un yn henedd,
Ond gwr fu 'n rhodio, gyrfa anrhydedd.
3. Mae gan y faefon well cyfrwyddyd,
Na chan y Cymru ym mhob celfyddyd,
Treiwn ninnau 'n tri mhen ennyd,
Accw 'n rhwyddedd eu cyrhaeddyd,
A dyna 'r achos dawn oruchel;
Goreu amodau a'n gyrrai i 'madel,

Sef

Sef gweled gwaith, dethau daith,
Rhown drofa ar faith drafel,
Gobeithio er trais un fais na gwyddel,
Y iawn ym ddygwn yn ddiogel,
O's yno digwydd i ni ymrwymo,
Dros amfer hir ar dir i dario,
Gwyllyfiem ffoi, cyn ymgloi, attoch droi etto,
Onid oes dynged wedi ei phwyntio,
Nad allwn ni abal ollwng oeibio.

4. Er bod yn dwymyn am fynd ymmaith,
Mae calon brudd o herwydd hiraeth,
Och fynna faeth a chaeth ochneidion,
Ymado a mine 'r merched mwynion,
'R ol hoffi gwen flodeu-wen dawel,
Mae 'n chwith ammodau a chaeth ymadel,
Mae 'r galon gu, wrth gofio fu,
Ar fferru o roi ffarwel,
Wedi caru deuliw 'r cwrel,
Mae 'n adwy gyfyng mynd o'i gafel,
Hyn fy'n peri mewn fain puredd,
Drwy iâs du chwerw, driftwch oeredd,
'R ôl bod yn bur a dal fel dur,
Mae 'n ddolur mae 'n ddialedd,
Ymado a chowled wedi ei choledd,
Ac i walch arall gael i chyrredd.

5. Er hyn i gyd mae 'n bryd ar rodio,
Etto 'n ddilys doed a ddelo,
Nid ym ni ond ieuaingc heb ein dofi,
Mae 'n ddrud ymrwymo i foddio ffanfi,
Hawdd i ni fynd i'r wlad a fynnon,
Ond gado 'r merched glân yn rhyddion,
Yfgydwn law, a daliwn draw,
'N wyr difraw, ein dwyfron,
Rhaid i ni hefyd gymryd calon,
I fynd i'r daith yn fwyn gymdeithion,

Ffarwel

Ffarwel pob geneth lyweth lawen,
Hy ewig euraid hoyw ac irwen,
Ffarwel i'r tŷ Castell crŷ, cychwnnwn,
Tu a Llunden,
Ffarwel pob cyfaill da yn ein cefen,
Iawn a chall o'r Wayn a chollen.



## Cerdd yn datgan am dwyllwr a ddaeth i Langollen, ac a dwyllodd lawer o rai go enwog. fel y mae 'r canlyniad yn y blaen, ar Lan feddwdod mwyn.

### XXVIII.

1. GWrandewch fy myfyrdod rhyw draethod ddi drefn
Mi fethais ei phwytho, na'i llunio hi 'n llefn,
Fy 'stori sydd gandrell a musgrell a maith,
Mae 'n anhawdd ei chofio na'i chwilio hi chwaith,
Fe ddaeth y ddihareb i'r wyneb yn wir,
Mae gwall ar y callaf ar dewraf ar dir,
A rhydid i gelwydd anhylwydd yn hir,
A'r hanes pan glywais, mi dynnais ar dwyn,
I ganu rhyw brofes anghynnes yw nghwyn,
Mi geisiais ei gosod ar lân feddwdod mwyn.
2. Daeth twyllwr ystrywgar a moesgar i'n mysg,
I dreio 'r gwyr doethaf hyd eithaf eu dysg,
Heb fodd i gael llymmaid a'i bocced yn llom,
Er hynny fo fedre, resymme i roi Siom,

Yn

Yn arfoel ei goryn,
Bu 'r dewrun yn daer,
Cae ddigon o gwrw,
Da gloyw du glaer,
A'i wisgo 'n garedig,
Ym merwig y maer,

*arferid gwneud maer o ryw ddyn meddw yn Llangollen ar ol y gwylmabsant, ac aeth y twyllwr yma mewn cariad ar maer a chafodd ei serwig ef.*

Dechreuai ddweud hanes ei gyffes a'i gwyn,
Fod ganddo drysorau 'cuddiedig mewn llwyn,
Gwir ffrins a chydnabod, Sr gl n feddwdod.

3. Mae gan i dea Coffi, Rum, Brandi yn eich bro,
Mewn lle anghysannedd yn gorwedd dan go,
Pe cawn i gymheriad drwy gariad rhai gwŷr,
A gadwai gyfrinach, heb eiriach yn bur,
Ni synnwn i er llawer o bower a budd,
I swyddog y Brenin, mo 'm dilyn liw dydd,
Rhag ofn na chawn etto mo'r rhodio 'n ŵr rhydd;
Cae 'n union dderbyniad a chennad a chwyn,
Dyfeisient ffordd ddirgel ddiogel i'w ddwyn,
A gwylied son gormod, am lân fedd, &c.

4. Roedd yno ddau berson gwyr llonn am, gael llwngc
Pan gynta ceid agor y trysor ar trwngc,
A gwas gwr bonheddig un blysig heb law,
Tafarnwr a hwsmon gwyr llysnion ger llaw,
Fe gowsai 'r exeisman ei ddanfon i'r ne,
Ped fasai nhw 'n gwybod y llwybr i'r lle,
Tra basai 'r da 'n dwad ar drawiad i'r dre,
Rhag hwn roedd dychryndod a syndod heb swyn,
Nhwy wyddent, fod dyled y deyrnged i'w dwyn,
A chosb ddi gydwybod, ar lân, &c.

5. Ond gwych iawn bernais oedd dyfais y dŷn,
Yn dweud ei fadroddion mo r llownion ei llun,
Ni allasai yn ei fywyd, gael abwyd oedd well,
I ddenu gwyr blysig, amhwyllig ymhell,
Rum, Brandy, tea, coffee i'w brosi oedd yn bras,
Er bod ei berchennog fel llwynog yn gnâf,
Roedd ei hymarweddiad o'i gariad yn glâf,

Fo'u

Fo'i gwnaeth yn gymdeithion mo'r radlon ar ŵyn,
Fo wybu wrth eu hosgo yn gwrando ar ei gŵyn,
Y medrent ddygymmod a glan, &c.
6. Rhoi diod a bwydydd heb gerydd i'r gŵr,
Credasant ei bregeth fod pob peth yn siwr,
Cyd synient a'u gilydd yn ufudd liw nos,
I'w geisio dan dithio a pheillio pob ffôs,
Yr hwsmon a hwylie ac a fynne roi ei fenn,
A'i wedd a'i was hefyd ar gŵr o'r siambr wenn,
Dyn hynod gofalgar deuallgar dros ben,
Dal rhês o geffylau a'u pennau 'n y ffrwyn,
I gyrchu 'r aderŷn oedd ganddyn mewn llwyn,
Yn canu caingc hynod ar lan, &c.
7. Aeth tri dyn i'w galyn yn sydyn i'r swydd,
Yn ddigon gwllysgar wyr howddgar a rhwydd,
Tu a throed bwlch rhyw felen y tithien i'w taith,
Lle dweudai 'r dyn tyner fod liccer dda laith,
Ond 'roedd eu disgwyliad wrth genad y gwr,
Gael disgyn yn rhywle, a'r dir pentre 'r dŵr,
Pynnorio 'r cyffylau, dygasai nhw 'n siwr,
Cyfrwyo iddo geffyl mo'r anwyl a'r ŵyn,
A nhwythau 'n marchogaeth ar banel o frwyn,
Dan ganu iddo fowrglod ar lan, &c.
8. Cyn mynd i'r rhyw felen nhw fynnen y fael,
Ac yntef yn dwedyd fod golud i'w gael,
Dowch i'r dafarn dowyrch mawr gynnyrch a gewch,
I'm dilyn hyd yno 'r nos heno neshewch,
Mynd yno dros fynydd, oer drowydd ar drott,
A galw bir brandi, a berwi hott pott,
A gwario 'n eu crymswllt nghylch sei-swllt o siott,
Cynnyg ei arian wr diddan ar dwyn,
A dweudyd hai yfwch a llennwch eich crwyn,
Cawn yma gyfarfod a glan, &c.
9. Galw 'r Tafarnwr di gynnwr oedd gall,
Dweud fod ganddo eiddo i'w foddio 'n ddi ball,

P'ryn

P'ryn ſynnwch chwi rwan a'i'ch arian i'ch llaw,
A'i coffi neu frandi yn ddifri pan ddaw,
Eich arian wr cedwch na ſyddwch mo'r ffri,
Yn lle taledigeth yr un peth gan i,
I'w cymryd pan ddelo y'ch eiddo da chwi,
Galw 'r chwart arall yn ddiball a'i ddwyn,
Hel bwyd ac arlwyo ac yſtexio yno lwyn,
A gwneuthur eiſteddfod o lân, *&c.*

10. Ac allan yn gefnog wyr enwog yr aen,
A chwilio am y tryſor, mewn onor a wnaen,
Colli eu cydymmaith o ſywaith tro ſynn,
A dweud wrth eu gilydd pa beth ydyw hyn,
Mynd at y tafarnwr hen drettiwr ar drott,
A dweudyd eu twyllo a'u pluo mewn plott,
Fe ddaliai hwn geffyl yngwyſtyl y ſiott,
Cae 'n ſychu yn eu llewis modd trefnus eu trwyn,
Fe giliodd y llwynog i ganol y llwyn,
Ond dyna ſawr anghlod, i lân, *&c.*

11. Dychwelyd tu ag adre,
Drwy 'r pylle mewn pall,
Gan deimlo ac yſtyried,
A gweled eu gwall,
Roedd rhai 'n cadw gwylnos i'w haros hwy 'n ol,
Heb ſeddwl am farchnad caffaeliad mo'r ffol,
Ond roeddent yn diſgwyl, mae 'fengyl ddi feth,
Gan wired a'r Pader mewn purder bob pêth,
Oedd tegwch ei 'madrodd ſo'i plannodd fel plêth,
Tan welſon nhwy 'r dynion yn dwad ar dwyn,
Adre 'n go lippa ac yn glappiog eu cwyn,
Am fethu cyfarfod, a glan fedd-dod mwyn.

12. Dylaſwn gael henw y dyn a'r pen hir,
O's eiff y gerdd newydd drwy 'r gwledydd yn glir,
Rhai a'i geilw Will Bidw,
Cae 'r henw ar ryw hynt,
Mae 'n gar i Rŷs grythor,
Hen gerddor oedd gynt,

Aeth

Aeth ymmaith yn dordyn,
Ai grythyn yn grwn,
Llawn swpper croesawus,
Co hwylus cae hwn,
Am wneuthnr pabanod, dan bennod ei bwn,
Rhoes arnynt lyffethair ddu anair i'w ddwyn,
Fo'i daliodd yn erchyll, yn ffrewyll ei ffrwyn,
I golli ei dynabod ar lân feddwdod mwyn.



## Cyffes gŵr ieuangc aeth i garu ac nid oedd ei gariad ef ddim gartref, ond cafodd afael mewn un arall oedd gymdeithraig iddi ac fe aeth att hon, ac fe ddigwyddodd iddynt warchad yn ddrwg, fel y mae yr hanes yn canlyn; i'w chanu ar galon drom.

### XXIX.

1. POB gwr Ieuangc a gâr afieth,
Fywiog-anian efo geneth,
Cymrwch siampal amal yma,
Chwi gewch fy nghyffes gwnewch fy nghoffa,
I mi digwyddodd wirfodd yrfa,
Gael cangen frigog rhy anwesog a'i rhoi 'n isa,
Y fi oedd fwyn a hithe oedd feddal,
Ar deg ei dygiad, casa trawiad, cês y treial.

2. Megis musgrell rhybell rheibus,
Rhy wag oeddwn ac awyddus,

Nid fy ngharïad i fy 'hunan,
Oedd y fenyw ddofedd anian,
Wrth hyn fy nhynged oedd yn 'angall,
O fod mo'r fudredd trawiad taeredd troi at arall,
Ac nis gallaf rhag naws gwallus fyth ymglymmu,
A bun fellu 'n erbyn f' wllys.
3. Ni wiw mo'r rhedeg arni 'n rhydost,
Tros y terfyn mewn trwst hir-fost,
Yn bur ddi attal y bai o'r ddeutu,
Yn llwyr oneft allai rannu,
Geneth rywiog wrth ei threio, ni wna gilwg,
Aruth amlwg er ei theimlo,
A dynion hefyd a'n yn hyfach natur chwannog,
I'r ffair amhwyllog fforia mhellach.
4. Ac ofgo chwyrn i'w gwafgu a'i charu,
Mewn awch dwymyn i'w chodymmu,
A mun yn toddi mewn tüeddiad,
A gwan ogwydd i'w gynhygiad,
Fo eill ei dymchwel hi ar ei chefen,
Yn llyfmer natur,
Brudda dolur braidd a deilen,
Pwy allai ei madde fellu meddwch,
Forwyn Ieuangc,
Cyn dofi ei fowr-wangc,
A'i difyrrwch.
5. A'm finneu heb gél dan afel nwyfiant,
Gwanna trŵch a gwnniau trachwant,
Fi wnes ni wada i'r Fenws wiw-deg,
Fy mhenodi am hyn o adeg,
Yn dad i'w chyw, fy ngwen lliw 'r ewin,
Rhaid talu i'r fammaeth,
Am fawr drwblaeth,
Efo 'r driblin: Am awr felus mae ar filiwn,
Flynyddoedd chwerwach o waith tefach a themptafiwn
6. Cryfder March yw rhwyd y merched,
I ddenu anneddfol ddynion addfed,

A ninne 'n owchus a'n chwennychiad,
fwyn gychwyn efo ei gwichiad,
Mae llawer un yn fun mo'r fwyn-gu,
Rhydd yn rhwyddaidd,
I garwr gwylaidd gwrr ei gwelŷ,
Er caru ar fwriad cywir forwyn,
Uchel brofiad,
Yw da warchad, rhwng dau erchwyn.
7. Nid ŵi'n diyftyrru hon ei hunan,
Mae 'n fynych drwft am ferch yn drwftan,
A llawer un yn well o rinwedd,
Etto 'n ffaelio attal ffoledd,
Ac amryw ddyn a gadd ei ddenu,
I hyn o forriant,
Gan ei nwyfiant yn ei anafu,
Rhai hyddyfg wyr o'r addyfg oreu,
Na fariant lodes, mwyn ei mynwes,
Mwy nà minneu.
8. Nid undyn heno adwaeno ei hunan,
Drwy ddirmygu a rydd i'm ogan,
Ond pob rhyfygus ddyn di deimlad,
A fwrw i'm brifo, farn ddi brofiad,
Ni edwyn doethion wrth ymdeithio,
Er eu manyled, mo dwyll y blaened,
Eill eu blino,
Fe ŵyrodd Fenws waredd fonedd,
Ac weithiau feintiau, oedd yn eu rhannau,
Ddawn a rhinwedd.
9. Mae hoen a nofiad hyn o afiaeth,
Yn gwir oeri 'r hen garwriaeth,
Sorrai 'm feren ir-wen arall, am fy mariaeth,
Yn fy mowr-wall:
Ni chaf gan f' enaid euraid arail,
Gwyn i'm dolur ow! na chyfur yn ei chefail,

Meddyliau blinion, gennyf blannu,
Plu ac edyn, yn warth i'w choryn, wrth ei charu.
10. Ac am y llall bu'r gwall a'r golled,
Mi wela 'n deilwng dalu 'r fforffed,
A drwg iawn gan i y leni i'r linos,
Gael afiechyd gwyl o f' achos,
Nid da y gwyddwn fod agweddiad, merch i glwyfo,
Lledu prifio a lleied profiad;
Rwan cyfan fynwyr cefes,
Drud oedd ei brynu, wrth goftio ei dalu,
Am gaftiau diles.
11. Y gwyr Ieuaingc mewn gau ryfyg,
Sy am fargennio ac ofer gynnyg,
Ymgofi a Fenws, megis finnau,
Nid Têg yw edrych tu a'i godrau,
Oni bydd ferch i ferch, fwyneidd-gu,
I gael y gowled,
Mewn adduned i'w meddiannu,
O's fellu i ddalfa daw gweddol-ferch,
Hawdd dyhuddo,
'R bai a'i drwfio lle bo draferch.
12. Difyrrwch ydyw 'r dôf ferchedos;
Er hyn mae 'n bechod mynd heb achos,
Att wan ei nwydau wen anwadal;
Bun a fyddo 'n rhy ben feddal,
Heb geifio ganddi wedi 'r cwbl,
Ond pryd ammheuthun,
A rhoi iddi 'n fydyn, y ddwy fawdl,
Fel hyn y gwnes nid lles na llwyddiant,
Pob un ymgroefed;
O'r groes dynged, goreu o's diangant,

Marwnad



# Marwnad coffadwriaeth am *John Jones* o Dref Geiriog, uchelwr parchedig a chanmoladwy, a gladdwyd yn Llan Gydwaladr, y flwyddyn 1767.

XXX.

1. OCH! Orfod canu ar dafod, mewn chwithdod,
Mawr a chaethder;
Och! ganu ffarwel gofid,
I lendid, gwir ffyddlonder,
Och! ddiffodd gwrês cyweithas,
Ag eirias cywir gariad,
A'i nhuddo dan y lludw,
Fel delw 'n Llan Gydwalad,
Och! Dorri o dir Tref Geiriog,
Yr anwyl Biler enwog,
Calon rywiog glân ei ryw,
John Jones gymmydog rhadlon, parchedig,
Ymmysg dynion, a than fendithion dwysion Duw,
Mae leni drwm alarnad,
O herwydd ei 'madawiad,
Oer yw 'r syniad yma 'n siwr,
Fo barodd hwyr a borau,
Och'neidion a gruddfannau,
A phrudd-der ffrydiau dagrau dŵr.
2. Heddychwr tangnefeddwr, da wladwr,
Duwiol ydoedd; rhinweddol cywybodol,
Tosturiol ei 'mysgaroedd,
'Roedd ynddo gariad brawdol,

A gwres mynwesol groeso,
I gyfaill tlawd a chwaethog,
A chyngor pwyllog iddo,
Mewn synwyr sad a sobrwydd; ni fedrai
Gwall ynfydrwydd,
Mo'i ddwyn i dramgwydd mewn un dre,
Bu ofalus i w Blwyfolion;
I wastadhau achosion,
Fe a'u mynnai 'n llownion yn eu lle,
Dadleuai dros y gweiniaid,
Y gweddwon a'r ymddifaid,
I gael eu cyfraid yn eu cwrs,
Gan yrru 'r crysa i gostio,
Ac ynte ei hun i ledio,
Heb geisio safio bario ei bwrs.
3. Ond galar mawr i galon,
Y noethion a'r newynog,
Oedd danfon accw i'r dyfnfedd, drugaredd
O Dre' Geiriog: Lle roedd ei hamddiffynfa,
Gwresocca goreu swccwr; bydd llwydtach,
Beth ei lletty, o gladdu ei pen ymgleddwr,
Un addfwyn gostwngedig, haelionus a charedig,
Yn rhoi calennig i rhai cla,
Pwy Edwyn dad priodor, i 'mddifaid
Rhwng y ddeufor, yn well ei stor o wllys da,
A'i galon union onest, mewn teimlad torriad
Dirwest: Ni charai floddest, chwerw flin,
A'i wedd arafedd rywiog,
A'i rasol eiriau,
'N wresog, ac yn ddi droeog, hawdd ei drin.
4. I dyner gofio am dano,
Os medrwn chwilio
A chalyn: Cawn waedlwyth y cenhedloedd,
Yr hannoedd hwn o honyn,
Uchelwyr gwaedol gwledig nodedig oedd ei deidiau,
Roedd iddo 'nd mynd ymhellach,
Anrhydeddusach trasau,
Ei

Ei dad a'i genhedlaethau, oedd flâgur
Gwreiddyn graddau; bonedd bennau
Oedd llwythau eu llu: O *Dudur Trefor* deuen,
Iarll Henffordd Arglwydd drewen,
Bôn llawer cangen gywren gu,
A'i fam o waed *Rhiwallon* ap *Cynvyn*,
Filwr ffyddlon;
Un o'r T'wysogion gwchion gynt,
Medd llyfrau coffadwriaeth, sy er's talm
Yn dystiolaeth,
Am eu hiliogaeth, helaeth hwynt.
5. Nid â i fynegu llawer am nifer
Ei henafiaid; nid ydyw hynny ond ffansi
I'w gyfri 'n wâg ac afraid,
Ac ynte o isel ysbryd, ni fedrai gymryd
Rhodres: Na chyfarch mewn gor'chafiaeth,
Na gweniaeth o wag anwes,
Ni 'mffrostiai fawr ei hunan mewn achau,
Mawr na bychan, ond cenedl *Canaan* wiwlan
Wlad: Gobeithio i Dduw ei Ethol,
I'w etifeddiaeth fuddiol,
Yn un o'r hil Brenhinol hâd,
Dan Iesu 'n fab mynwesol, i *Abraham*
Wobrwyol, dedwydd firiol dad y faint,
Lle nad oes ond diddanwch, llawn nodded
A llonyddwch, da hyfrydwch ydyw 'r fraint.
6. Dymunwn i'w berthnasau na byddont yn wrthnysig
Ar ol i Dduw ei alw, i'w gadw o'r byd llygredig,
Marwolaeth sydd yn elw,
I rhai sy 'n meirw 'n gywir,
Nid meirw maent ond gorphwys,
Oddiwrth wylofus lafur,
Ac etto natur dynion ni fedr fod yn fodlon,
Dan golledion trymmion trist,
Pan ddenfyn Duw ei gennad, i gyrredd,

Anwyl gariad, Mam neu Dâd i'r gauad gist,
Roedd yma ddagreu a phrudd-der,
Gan bobloedd luoedd lawer,
Heb ddim plefer,
Yn eu plith: 'n enwedig ei gyfnefa,
Gâdd brofi 'r golled fwya,
A'r anghyfleuftra chwalfa chwith.

7. Elizabeth Jones ei briod, fwyn hynod,
Fun a henwa: A Thomas Jones ei unig,
Anedig Fâb a noda,
Och! iddynt golli eu fwccwr, addyfgwr,
Hwyliwr hylaw: da deddfol oedd dad addfwyn,
I'w cynllwyn megis canllaw,
Ac Elizabeth Jones ei ffyddlon, a'i anwyl,
Fam un galon,
Sŵn och'neidion fy yn ei chnawd,
A Richard Jones ac Wmffre, a'u llygaid,
Fel ffynonne, y brudd eu bronne, wrth bruddo
Eu brawd; a Mary a Sian ei chwiorydd,
A'u dagreu o garedigrwydd,
Gruddfannau beunydd cerydd caeth,
A'u gwyr a'u plant howddgara,
Trwm gyffes ganddyn goffa,
Yr achos yma fynna faeth.

8. A'i ddau Ewythryd trymmion,
Brig wnnion,
Fel y gwinwydd; tan ei elor,
Mewn tyn alaeth,
A hiraeth mawr o'i herwydd,
O'r llechwedd gwynn mae etto gwyno,
Am dano 'n dyner;
Ei Fodryb wedd gymhedrol,
Fwyn ethol a'i Gyfnither,
A'r Tŷ 'n y Rhos goreurog, a Rhywlas,
Dai galluog, a'r Pant Glâs enwog, gwelais hyn,

A'r

A'r Pridd-bwll, fawt anrhydedd,
Talygarth dawel agwedd,
A'r Cefn teg annedd, a'r Ty Gwynn,
Gwaedolion ynt o'i deulu, a'i geraint,
Oedd i'w garu,
Mae mwy na hynny 's mynnwn hel,
Ty pont y meibion etto, braw iddynt,
Oedd ei briddo,
A phruddaidd wylo, wrth roi ffarwel.
9. Mae 'r genedl mo'r luofog,
Drwy 'r holl dylwythog lwythi,
A'i deulu mhob ardaloedd,
Poen ydoedd eu pennodi,
A phawb yn cwyno eu colled, och oered
Galar chwerw; y diwrnod y cloed arno,
Wrth gydio 'r arch i'w gadw,
Trigolion union enwog, o ddeutu cyrrau
Ceiriog, a mwy cwmpafog frigog fro,
Roedd llawer cyfaill pruddaidd, a châr mewn
Galar gwylaidd, pan roed e n gruaidd yn y gro,
Cymmydogion yr un ffunud, yn brudd eu bron
A'u hyfpryd wrth ei fymud yma 'n fiŵr,
Ni bu claddedigaeth trymllyd, a chymmaint
Synnu er's ennyd, na mwy gofid am un gŵr.
10. Am hwn ymbwyllwn bellach heb rwgnach
O bur egni;
Bodlonwn ni neu beidio a fynno Duw fydd i ni,
Rhaid mynd ynghanol oedran,
Nid aur nid arian
Dyrrau: Nid gallu 'r Meddyg doethaf,
Teilyngaf ettyl Angau,
Ei yrfa gadd ei gorphen,
Yn bedair blwydd,
A deugen, rhoed e' i'w ddaiaren diwair oedd,
Nid oes un genau ag anair,
A ddywed nad oedd

Ddiwair;

Ddiwair; eill roi iddo ddrygair gwir ar goedd,
Gair garw na bo gywraint, a gyfyd beth
Digofaint; i blannu echryfaint, blin a chroes,
A'i ddiwedd bob yn ychydig,
I'w nesu terfyn yfig,
Gwaela lewig angau loes.
11. Berr einioes Dyn i'w hyftyr,
Fel dwr neu wydyr
Ydi: Llithrig brau a diwyd,
Yn pasio 'n esgud wisgi;
Rhwydd y rhod y dyfroedd i'r moroedd heb ymaros,
Fe dyrr y gwydr egwan wrth lawer bychan achos,
Temhestloedd gwrês ac oerni, neu ymserth,
Dyfn-nerth defni, parhaus wna dorri einioes dyn,
Mae angeu ac arfau fellu,
Weithiau 'n marwolaethu,
Gelliff hynny golli y ffun,
Ymburwn bawb yn barod,
Ni feddwn ni yma
Un ammod ar derfyn pennod yftod oes,
Mae bywyd heddyw ganddon, y foru o's cawn
Nis gwyddon, add'wydion dwyfion un nid oes.
12. Duw roddo amynedd esmwyth,
I bawb o'i dylwyth,
Dilys: Gocheled neb wrthwynebu i allu Duw a'i wllys
Y fe roes fywyd iddo, ac aeth ac efo'n gyfion,
Y fe fy 'n newyd graddau,
Ac yn dwyn meddiannau dynion,
Mae 'r byd fel ffair neu farchnad,
Rhai 'n mynd a'r lleill yn dwad,
Heb eifteddiad yma ar ftôl;
Byw heddyw i feirw 'r yden,
A meirw i fyw drachefen,
Oes anorphen hir fy 'n ôl,
Pan ddelo 'r Adgyfodiad,
A'r corph o'i garchar

Cauad:

Cauad: I gael dattodiad rhediad rhydd,
Bydd i'r duwiolion alwad, i'w heinioes,
Ddiwahaniad, heb fyth alarnad profiad prudd.



## Cerdd ar *Heavy Heart*, Coffadwriaeth am farwolaeth *Thomas Prichard*; drwy ddamwain ddychrynllyd yngwaith glô yr Accar Fair, Plwy Ruabon.

XXXI.

1. POB hoyw langc fy 'n Ieuangc nwyfus,
A gwr da ei rinwedd gwâr oedranus,
A phob gradd enwog ryw o ddynion,
Diwair alwad daiarolion,
O bob diogel Brofedigaeth, peth mwya ficcir,
Yma a welir yw marwolaeth,
Hwn yw 'r munudun mwya anwadal,
Yr awr nas gwyddom,
Fe ddaw attom yn ddi attal.

2. Angau fydd bob dydd o'n blaenau,
A'i arfau 'n barod hŵyr a borau,
Y cryfa. a'r dewra o'r creaduriaid,
Nid ydynt yma i hwn ond tammaid,
Trwy aml fwyn i ddwyn ein bywyd,
Mae ganddo 'n dawel,
Mewn goleu a dirgel galed ergyd,
Hwn ydyw fwyddog mawr y barnwr,
A phob cnawd hoyw,
A ddwg yn chwerw ddu garcharwr.

3. Hyn

3. Hyn yw fy nhestyn sydyn sadwedd,
Sef gyrfa angau gwr Ieuengedd,
Thomas Prichiart wiwbart obaith,
Oedd dêg ei dymer da gydymmaith,
Mewn briw du echrys braw a dychryn,
Cae fyrr derfyniad,
Bu arno osodiad barn yn sydŷn,
Doe atto 'n erchyll tan ei orchwyl, derfynol funud,
Di rybudd esgud heb ei ddisgwyl.
4. Yr oedd y dyn heb wŷn heb wayw,
A'i gorph mewn iechyd howddfyd hoyw,
Yn ddi fêth yn ddyn afiaethus,
Yn weithiwr hylaw nerthol hwylus,
O'i egni dewr yn gwneud ei orau,
Ar ei gelfyddyd, hyd a y funud y terfynai,
Mae angau 'n taro rhai cyn bwgwth,
Rhydd aml ddyrnod,
Heb ddangos ammod yn ddi symmwth.
5. Nid ydyw heppil eiddil Adda,
Ond nod i'w saeth fe wnaeth ei fwa,
Yn groyw dêg o'r holl greadigaeth,
Defnyddiau a luniai i ni 'n elyniaeth,
Dwr a daiar weithiau a deri,
Neu dân gwreichionog,
Periannau minniog prennau meini,
Mae rhain am ladd pob grâdd a ddelo,
Mewn anian einioes,
A llaw fyrroes i'w llafurio.
6. Gwelwn amled sythed saethau;
Mewn swydd blinion,
Sydd o'n blaenau:
A gwelwn angeu a'i gledde gloyw,
A'i allu 'n fawr rhydd ni oll yn feirw,
A gwelwn ddyn uwch ben ei orchwyl,
A gwelwn angeu,

Inni

I ni ameu yn ei ymyl;
A gwelwn nad oes dwll i 'mguddio,
Neu 'mgadw 'n ddiangol,
Mewn un rhigol i ni rhago.
7. Os lletteuwn mewn lle tywyll,
Fe deri heb arbed ddyrnod byrbwyll,
Os down i'r goleu angeu a'n gwylia,
Heb arno gywilydd na gwladeidd-dra,
Er mynd i dario mewn dyfnderoedd, dwg fawr a
Bychan; yn ddiſtaw allan o'u 'ſtafelloedd,
Ped ſae 'n y ddaiar ryw ymguddfa, a fedrai ei luddias,
Ni ddaethai ar Domas y rhwyd yma.
8. Ei ddiwedd trwm mewn cwlwm caled,
A oedd doſturus iawn i'w ſtyried,
Y mae gan angeu daclau digllon,
Craig o lô ddaeth arno 'n union,
Tynna llwyth tan hon y llethodd, du loes ergyd,
Ing a gofid angeu gafodd,
Ac un cyd weithiwr cywir dethau, fu 'mron yn
Rhannog, A gae 'n afrowiog yno friwiau.
9. Gan fyned Thomas Addas weddol,
Mewn briw du ſynn o'r byd preſennol,
Ei gyfneſeifiaid ymgyſurwch,
Damwain oedd er dim na waeddwch,
Nid oes am enaid aderſyno, un farnedigaeth,
Ond da obaith, i ni dybio,
Gobeithio fod ein brawd cymhwyſa,
Yng nghôr diſglaerwyn,
Y gwir oen addtwyn goreu noddfa,
Ond mae mewn natur amhur yma,
Synn feddyldriſt o feddaldra,
Siân ei fam wawr ddinam ddownus,
Foreu a hwyr ſydd lwyr alarus,
John ei Frawd a Richard hefyd,
A Roger ffyddlon,

Tri

Tri hôff union yr un ffunud,
Tri o frodyr cywir iddo, o'i fynd i'r ddaiar,
Mae 'r tri o alar yn troi i wylo,
11. A phump o chwiorydd dwyrudd dirion,
Sy 'n hallt eu dagreu o gileu 'r galon,
A Mary Jones winwydden addas,
Oedd yn bwriadu a hwn briodas,
Ond aros amser ei cysylltiad,
Ond gwelwn hynny.
Nad oedd Duw 'n mynnu,
Mo'i dymuniad,
Hon sydd bob dydd yn brudd ei chalon,
A'i llygaid hefyd,
Ynt un ffunud a dwy ffynnon.
11. Roedd yma gwelwn ddamwain galed,
O naws druenus gan estronied,
Pa faint mwy galar oedd i galon,
Ei euraid agwedd garedigion,
I weld e'n mynd o'u gwydd yn llawen,
A'r ail olwg; oera gilwg, ar ei gelen,
Mae yma i'r einioes amal ranniad,
Ac mae gan angeu,
Saetheu nodeu o bob cyfnewydiad.
13. Hwn sy 'n lladd,
Pob gradd mewn amser,
Da a drwg trwy wg tra eger,
Ni rusa gryfder mwy 'n gwendid,
Na rhinwedd undyn chwaith na'i lendid,
'Roedd hwn yn llengcyn canmoledig,
Yn ei gymdogaeth,
Gwych araf odiaeth a charedig,
Diniwaid hefyd enaid hafedd,
Wrth drefn naturiaeth,
Un mwyn di fariaeth,
Di oferedd.

14. Yn bedair blwydd ar hugain oedran,
Ynghanol blodeu dyddieu diddan,
Y galwodd Duw fe 'i fyw 'r ail fywyd,
Gobeithio i'w ganfod byth mewn gwynfyd,
Duw dyro râs wrth hyn o fiampl,
Mewn bywyd buan,
I ninnau 'n gyfan gymryd gofal,
Ac yn dofturus iawn yftyried,
A chyfri ein dyddiau,
Hyd forriant angau fiwra tynged.



## Cerdd yftyriaeth ar farwolaeth *Mary Philips* merch i Mr. *Philips* o'r Tŷ 'n y Rhos Plwy Llanfarthin; yr hon oedd efo ei Thaid yn y Llechwedd gwyn: I'w chanu ar Dol Bell.

### XXXII.

1. PRudd prudd: ac oer yw fwn y gwir y fydd,
Cloch alar gri i lychu 'r grudd,
Yn hir yw 'r newydd hwn,
Machludodd lloer mae 'n oer yn awr,
Mewn tynna loes mynd hon i lawr,
Mae amal gwyn am loyw ei gwawr,
Gwelir mil a galar mawr,
Pwy ddiangc o gyrredd ange gawr?
Ni arbeda neb y byd a wnaeth.
Mewn cywir fwydd yn farc i'w faeth.

2. Trwm, trwm: a phwyfau blinach na phais blwm,
Yw 'r hiraeth fydd o aruth lwm,

Dros

Dros lawer cwm y cerdd,
Gorchgudd ar lawenydd yw,
Syndod rhyndod i bob rhyw,
Defni ar fronnau dyfn oer friw,
Pawb oedd a'u gwaedd pe byddai gwiw,
Am y wenithen lawen liw,
I'r llawr a roed yn oed ei nwy,
Mae llawer ôch! am wen-lliw 'r ŵŷ.
3. Hon hon: oedd Mary Philips bur ei bron,
O'r Tŷ 'n y Rhôs fwyn linos lonn,
A ffyddlon galon gu,
A aeth mewn agwedd ſadwedd ſynn,
I'r llychaidd gwys, o'r llechwedd gwyn,
Gwych rywiog le, goruwch y Glynn,
A phridd Llann Farthin huling tynn,
Sy ar ei hwyneb ſiwr yw hyn,
Diweddai ei byd, doe ei dyddie i ben,
Gan friwiau chwith yn y frêch wen.
4. Clôd, clod: Da iawn anrhydedd dan y rhod,
Weddeiddia bun oedd iddi 'n bod,
Un hynod yn ei hoes,
Da oedd ei mawl, ar duedd mwyn,
Ddinam ddynes yn ymddwyn,
Aur ewig ſerch, o rywiog ſŵyn,
Agorai 'n dêg ei geiriau ar dŵyn,
I bob tlodaidd gwannaidd gŵyn,
Yn ddifalch iawn mewn dawn a dyſg,
Och! hylla modd ei cholli o'n myſg.-
5. Llawn, llawn: Naturiol ſynnwyr yſtyr iawn,
Llawenydd harddwch degwch dawn,
Golygon rhadlawn
Rhwydd; a gwaedol oedd hi a gaed o lu,
Uchelwyr tyner o bob tu, o ryw 'r Philipiaid,
Hardd-blaid hŷ; ac o'r Treforiaid euraid blu,
Drachefn o'r Cefn yr Wmffreaid cu,
Sy 'n para fyth ymhob rhyw fan;
Yn bledwyr gwŷch, ar blaid y gwan.

6. Gwir, gwir: fod bwriad arall iddi ar dir,
Yn lle claddu ei chorphyn clir,
Anifyr oedd y nod,
Yr oedd y gangen g'lommen glyd,
Wedi ei dyweddio,
I 'mrwymo 'nghyd;
Ag Aer cyfrifol cywir fryd,
Sef Edward Wynne a hyn o hyd,
Tra byddent beunydd yn y byd,
Roedd rhyngddynt gariad maith i gur,
Cu lana parch calonnau pur.

Mr. *Wynne* o *Ddolfawr*

7. Dall, dall: Yw bwriad dynion meirwon mall,
Awn oll i'r llŵch y naill a'r llall,
Heb arnom ball o'r byd;
Roedd yma 'ddwydion,
Mowrion maith;
A u rhoi drwy gred mewn gweithred fraith,
A dwylo tystion chwech neu saith,
A hyder gormod ar y gwaith,
Heb neb yn dirnad hyn o daith,
Fod angau glàs yn hogi ei gledd,
A'r fenyw bur ar fin ei bedd.

8. Clau, clau: o union ddull, un oedd y ddau,
Ped fasai Duw yn
Caniadhau i gau 'r ammodau mwyn,
Er maint y purder ofer yw,
Rhoi ferch rhy dynn, ar undyn byw,
Ni lwydda dim a luddio Duw, y fe sy 'n raenio,
Ar ddynol ryw;
Gobeithio i'r wir winwydden wiw,
Gael gwell dyweddi heb wyrni 'n ben,
Priodas Aer paradwys wen.

9. Bu, bu: Marwolaeth hon yn alaeth du,
Doluriau tost i deulu 'r Ty,
Oedd ei diweddu yn wir,

I'w mam a'i Brodyr, gwewyr gwael,
A i Thaid a'i Nain, am riain hael,
Oedd mewn cyfyngdra trymma trael,
A phawb o'i phobl wrth ei ffael,
Nid oedd fawr gyfur yno i gael,
Ond gwendid natur eglur oedd,
Drwy yftyr blin yn drifta bloedd.
10. Siwr, fiwr: Bu caeth ruddfannau dagrau dŵr,
O'i bod yn gorph a'r bedwar gŵr,
Yn mynd i'r llygwr llŵch,
Di nawdd wahaniad ydoedd hon;
I'w hanwyll gariad,
Brathiad bron; am fynwes lwys y Fenws lonn,
Pan gollai 'r dydd ar wenlliw 'r donn,
A rhoi iddi gryd o'r ddaiar gron,
A'i gado 'n brudd bun deg ei bri,
A chan ffarwel i'w hoedel hi.
11. Nŷch, nŷch: a fynn oedd clywed fŵn y clych,
A gweled rhoi mewn gwaelod rhŷch,
Ddifgleir-ddrych, harddwych hon,
Yn un ar hugain yno ei rhoed,
Yn floddeu 'r bedd,
Ieuengedd oed; i'w gwafgu 'n gaeth,
Mewn gwifg o goed,
Dan y clai, yn dynn fe'i cloed,
Lle ni thrŷ na llaw na throed,
Tan ddoir i alw 'r meirw mud,
Ac i roi barn ar gyrrau 'r byd.
12. Gwaith, gwaith: ordeiniodd Duw oedd hyn o (daith
Nag wylwch ac na chwynwch y chwaith,
Yn hir-faith, ar ei hôl,
Mae fy nghyfarchiad fyniad fwyn,
At Betty Foulkes fy 'n drwm ei chwyn,
Ei chares a'i chyfeillies fwyn,
Nhw fuon rowiog fel yr ŵyn,
Yma 'n ddownus,

Yn

Yn ymddwyn;
Rwi 'n gyrru i d'annerch air di
Dwyll; i gymryd cysur bybyr bwyll.

13. Daw, daw: Cennad angau briwiau braw,
Mae ei saeth ar linyn yn ei law,
In taraw 'n ddistaw ddwys,
'Rym dan ei warrog yma 'n wir
Mae ganddo ein harwain gledde hir,
Hwn sy n merthyru môr a thir,
Pob gloyw rosyn claerwyn clir,
Pob cangen las-wen,
Aur-wen ir; pob uchel frenhin brigin braint,
A roes i'w fedd ni rusa ei faint.

14. Ail, ail: yw bywyd dyn i gwympiad dail,
Neu dŷ osodwyd heb ddim sail,
Ar dir yn adail deg,
Er cael ei gynysgaeddu 'n glyd.
A gwerthfawr dlysau o berlau 'r byd,
A glendid harddwch tegwch pryd,
Dawn synwyr ffraeth dysgeidiaeth drud,
Pa beth sy 'n dal y rhai'n ynghyd,
Ond anadl einioes byrroes bwynt,
Fel un o'r gwawn o flaen y gwynt,

15. Ffael ffael:
I'r gallu mawr i golli 'r mael,
Pan fyddo 'r ffroenau a'r genau gwael,
A'r corph ar drafael drist,
Yno syrth y nerth a'r nwy,
Prydferthwch hwn ni welwn mwy,
A'r golud teg fe giliant hwy,
Yr awr gyfynga cletta clwy, ar gofid fyth
Yn gafod fwy; y gostrel bridd fydd lestr brau,
Ni hybir hon i hir barhau.

16. Ffydd, ffydd: O Iesu dod i ni nos a dydd,
A maddeu ein hanwireddau fydd,
Yn haeddu cerydd hir,

Credwn yfwn a bwyttawn,
O groeso Duw mewn gras a dawn,
Y foru gwyl i feirw gawn,
Ar ol y meirw na thristhawn,
Hwn fydd yn brudd-der ofer iawn,
Er wylo 'r Môr, ni welir mwy,
Yn y byd hwn mo'u bywyd hwy.



## Cerdd o goffadwriaeth am *William Williams* o Gaer Fâch, ymhlwy *Llanrhaiadr* ym Mochnant, gwr Ieuangc fu farw o'r Frech wen, ar fesur elwir Trymder.

XXXIII.

1. CLywch alarnad caniad caeth o hiraeth dwys,
Am wr Ieuengaidd iraidd aeth yn gaeth i'r gwys
Angau fydd yn nesau,
I daro 'r corphyn briddyn brau,
I ddeddfau hwn rhaid ufuddhau diau, y daw,
Fo eilw 'r gwael fel y gwŷch, ni fetha eu rhoi
'N yr un fath ddrych; heb feddu dim
Ond gwledd y rhych a gloddio rhaw.
2. Er mai peth cyffredin yw,
I'r byw 'n y byd,
Fod angau 'n ordinhâd gan Dduw,
Bob rhyw bryd,
Pan goller anwyl gyfaill clau,
Blaedd o ferch heb leshau,

A geiff fyned i'w goffau, er mae ffôl,
Ei deulu fyddant wrth ei fedd, braw a'u cloes,
Fel briwiau cledd;
A llawer wyneb oer ei wedd, ar ei ôl.
3. Er byn nid allwn feio ar un, mae ofer yw
Ond rhoi cyfur ymhob dyn o air Mab Duw,
Y fe 'dyw 'r adgyfodiad fydd,
Mae 'n bywyd ynddo i gyd ynghudd,
Fe 'i cyfyd i oleuni dydd o flaen ei dad,
Pwy bynnag ynddo gredo 'n grŷ,
Er marw ei gorph i'r ddaiar ddu,
Y fe ydyw 'r bywyd ynddo fy 'n llwyddiannus had.
4. Bu yn y Seintiau gorau i gyd y gwendid hwn,
Pan fyddai Duw 'n eu galw o'r byd roedd galar bwnn,
Galarai *Rachel* am ei phlant,
Ni chymrai gyfur fynwyr fant,
A *Mair* a *Martha* chwerwa chwant gowfant gur,
O briddo eu Brawd briw oedd a brad,
A'r hiraeth hwn fyth ni ymâd,
Ac anwyl deulu Mam neu Dad, bwriad bur,
5. Am William Williams yr un wedd gwannedd (gŵyn,
I'w Dad a'i Fam uwch ben ei fedd,
A'i ddwy Chwaer fwyn,
Roedd gwaedd o bwys guddio ei ben,
Tan y llŵch tynna llenn,
Drwy friwiau a chur o'r Frêch wen, diben dwys
Eu braw oedd doft briddo dyn,
Mewn gwelu llaith gwaela llun,
Mab unig oedd enwog un, yn y gwys.
6. Yn nam un ugain diddan oed, a dyddiau nwy,
Ymlodeu Ieuengtyd yfgafn droed, a'u hardd-oed hwy,
Y rhoed ei gorphyn fydyn fenn a'i air a'i barch
Ar ei ben; yn Llanrhaiad waftad wen yftod wir,
A'i enaid aeth i newid oes,
At yr hwn ynddo a'i rhoes,
I'r ail fywyd arall foes, einioes hir.

7. Cym'rwch galon radlon rydd,
Bob dydd heb dwyll,
Gwell na galarnad profiad prudd,
Yw ffydd a phwyll,
Ni ddaw mo'r meirw yma mwy,
Mae hynt ein taith ni attynt hwy,
Ni wyddom heno o honom pwy 'n gynta i'r pen,
Rhyw fywyd yn ymfymmud fydd,
Gennym yma redfa rydd,
Fel cwympiad dail arwydd brudd oddiar bren.

8. Marw yw 'r byd er mae byw, am awr bach,
Y foru 'n farwol raddol ryw,
Sydd heddyw 'n iach,
Er glendid hardd galondid hy,
Er braint a pharch cyfarch cu,
Ni arbed angeu a'i fwa du, fywyd un,
Nid cryfder na chyfrwyfter chwaith,
A'i try fe 'n ôl rhag trefnu ei waith,
Fe wyr ammodau dyddiau taith, diweddiad dyn.

9. Serch rhieni i'w hanwyl blant,
Mowrchwant mwyn,
Sy 'n rhoi galar maith i gant,
Methiant gwyn,
Gwendid fy 'n y cnawd ynglyn,
Na fedr ei herfwaedio ei hun,
Wedi colli delw ei ddyn duwiol ddawn,
Ond arfer ffydd a gweddi bur,
Fe gilia 'r galar fiomgar fur,
Derfydd trymder caethder cur, cyfur cawn.

10. Er bod hwn mewn bywyd da, mwyna moes,
Yn howddgar fel planhigyn hâ, yn ei oes,
Cynneddfau da naturiol ddyn,
Sy 'n dda 'n eu lle,
Heb ddiwyno eu llun,
Braint yw nhw i rai,
A brwn yw 'r un, hebddyn hwy,

Ond

Ond nid er mawl parch na chlod,
I ddyn bydol am eu bod,
Ond rhown i'w rhoddwr dan y rhod, fowr-glod fwy,
11. Pan elo dyn gorphyn gwan dan y ne,
Yn aer y llwch yn nhir y Llann, oera lle,
Y derfydd ei amcanion gŵŷch,
A'i anrhydedd yn y rhŷch,
Yn welw ei drefn waela drych, frŷch ei fron,
Fel *Job* gynt yno geilw 'n dâd, *Job* xvii. 14.
Bwll y bedd waeledd ftâd,
A'r prŷf fy Mam wrth ordinhâd ydyw hon.
12. Marw 'n Ieuangc diangc da, llawena llwydd
Oddiwrth gyfyngder blinder blâ, redfa rwydd,
Gadel pechod yma 'n grwn,
A beiau tywyll y byd hwn,
Gofalon byw fy fel yn bwnn,
Ar fil yn bod, gadel trallod ym mhob tre,
Cael anian lonydd yn ei le,
Y goron aur o gaerau ne, goreu nôd.
13. Nid oes i r corph ond amdo ac arch, o'r da i gyd
Er cyrraedd gynt enw o barch, yn y byd
I huno i'r llwch, â hwn a'r llall,
Yn dlawd, yn noeth, yn fud, yn ddall,
Meddiannau 'r byd, yn ddi ball, i arall eiff
Pan elo dyn i'w dyddyn du, fe doir ei gnawd,
A daiar gnu: Pe'i Brenhin a fu,
Yn Lloegr gu, llygru geiff.
14. Gwelwn nad oes ball, i'r byd, o hyd na hedd,
Ond marw a chladdu i'n gyrru i gyd,
Yn fud i fedd,
Nid oes ar ôl na ffôl na ffel,
I gorph yr un ond gair ffarwel,
Pan fyddo ei ddwyn i'w fedd yn ddel drafel drift,
A darllen yno air neu ddau,
A chlul ar glôch i'w goffau,
Tra bo 'r ddaiar yn ymgau am y gift.

Cerdd ar galon drom, ystyriaeth ar farwolaeth *Edward Prys* o'r Wayn Uchaf, gŵr o Lanrhaiadr Dyffryn Clwyd, a gweinidog i Sir *Richard Miltwn*, yr hwn a gafodd farwolaeth ddi swtta yn y Castell, fel y damweiniodd i un o'r gweithwyr daflu ystyllen o le uchel yn ei ben ef; yr hyn a fu y flwyddyn 1764.

XXXIV.

1. POB gwr grymmus nwyfus afiaeth,
Llawen-gu arail llawn gwroliaeth,
Cofiwch angeu yn nyddieu nodded,
Cyn terfynu 'r Corph a r Ened,
Mae 'n ffol i'r iach ddweud hwyrach hiroes,
Ar derfyn dirfawr fel iâ unrawr yw ei enioes,
Ni wiw hyderu ar dŷ daiarol,
A mil gan angau i ni o rwydau anwaredol.
2. Ni cheir na chist, na chaer, na chastell,
Na dinas gadarn Tŵr na 'stafell,
Na dur, na mur, ar dir na moroedd,
O waith llaw Seiri 'r holl amseroedd,
I attal angau saethau llymion, terfynol swyddog,
I bob gradd enwog ryw o ddynion,
Gwnaeth hyd eu dyddiau megis dyrnfedd,
Ar fyrr darfyddant,
Fel llifeiriant o'u holl fowredd.

3. Bu yma ddamwain i ddiddymmu,
Enioes anwyll gyfaill mwyn-gu,
Edward Prŷs, ar frys cadd alwad,
Drwy fawr gynnwrf ar ferr gennad,
Ynghastell clyd Syr Richard Miltwn,
Na ddêl fyth drift-awr;
Ing a phwysfawr angeu o'i ffasiwn,
Hwn oedd yn iâch uwch ben ei orchwyl,
Heb nŷch na gwendid, na chlwy na gofid yn ei gyfyl.

4. Yn llawen rywiog fel yr Eos,
Heb ammeu dim fod angeu 'n agos,
Ond angeu hŷf, a'i gleddyf gwaedlyd,
Oedd yno 'n disgwyl am ei funud,
A'i draed gwlân yn cerdded atto, a'i ddwrn marwol,
O bren durol yn ei daro,
Yn rhith pob eulyn gelyn goleu, at yr henaidd,
A'r dewr Ieuengaidd y daw 'r angeu.

5. Weithiau 'n wayw garw gerydd,
Drwy ddoluriau 'n boenau beunydd.
Weithiau 'n treulio 'r cnawd yn araf,
Bob yn ronyn heb fawr anaf,
Weithiau teri 'n anweledig, heb glais na briwiau
A drych ei nodau dychrynedig,
Weithiau drwy 'r elfennau mudion, mae yn amlygu
Ei oruwch allu, a'i archollion.

6. Weithiau dyn mewn brad a bwriad,
Yn angeu i arall o angharied,
Un arall etto ar osgo musgrell,
Yn angeu cyfyng i w ben cyfell,
Fel ac y cafodd hwn ei derfyn,
Daeth law cyd weithiwr,
Oedd wan wiliwr iddo 'n elyn,
Wrth daflu ystyllen nis deuallodd,
Fod angeu ffyrnig yn llew poenedig, lle pennododd.

7. Wrth farn gysonol reol rywiog,
Y dyn o'i ddiwedd nid oedd euog,

Mae

Mae llawer ſiawns o anfodd i ni,
A hyll ei nerth na allwn wrthi,
Ac ynte a'i blaened galed gilwg,
I golli ei einioes,
Dan y drym loes yn dra amlwg,
Mae rhai dynion wedi hordeinio,
I gael terſyniad,
Ar yrfa a'i thyniad o'r fath honno.
8. Bu fawr alar o'i farwolaeth,
Yn y Caſtell a'r gymdogaeth,
Sian ei Wraig ei ſynwyr agos,
Gwall oer och! a gollai o'r achos,
Ond fel 'roedd Duw 'n ei dal i fynu,
Yn fam ymgleddgar mewn du alar i'w mân deulu,
A llef y plant ymddifaid truain,
Oedd fwy anghyſur gwayw lafur i'w gwylofain.
9. Yn hyn o odfa trymma tremiad,
Y doe 'r boneddigion howddgar ddygiad,
Adre o Lundain drwy lawen daith,
A'r dyn eur-teg dan ei artaith,
Synna ſaeth, pan ddaeth i'w lyſoedd,
I fron Sr. Richard,
Blaened Edward blined ydoedd,
Gwaedd o boen oedd ei ddibennu, munud oeredd,
A yrrodd Fonedd i ruddfannu.
10. Pan aeth y newydd chwith archwaethiad,
I lenwi 'r heol i Lanrhaiad,
I blith ei dylwyth adwyth ydoedd,
Yno ei farw i niferoedd,
Dwyn i alar dua niwlen, ei geraint agos,
Ar yr achos oer yw 'r ochen,
Newydd triſt i gluſtiau ei blentyn,
Oedd yno 'n tario i'w dad ymado mewn munudyn.
11. Anhyfryd hefyd i'w frawd Dafydd,
Ac oer iawn awel gair y newydd,
I'w dair chwiorydd yn drŵch o eira,

Neu

Neu ja yn y galon anian gwla,
Mary ac Anne a Sian lwys enau, (ddafnau,
A'u caeth ochneidion yn wylo 'n ddyfnion loywon
A Robert Roberts pan gae 'r newydd,
Ei frawd ynghyfraeth,
Yn faith ei hiraeth fyth o'i herwydd.
12. Ac etto Robert Jones ei gefnder,
A ddaeth o Lunden y cyfamser,
Yn union erbyn ei farwolaeth,
A'i galed agwedd gladdedigaeth,
Cae galon drom fod fiom i fymud,
Y pura o'i ffryndie,
Gwr a garai i'w gario i'r gweryd,
Ac amryw eraill o'i gydnabod,
Mewn triftwch troftyn,
Gwayw oedd arnyn gofio ei ddyrnod.
13. Pan aeth i'w arch mewn parch a chariad,
Ei gymydogion glân eu dygiad,
Roedd llawer iawn o rhai'n drwy burdeb,
Yn grefynnu o'i groefineb,
A'r holl weinidogion euraid agwedd,
Oed yn y Caftell,
Wrth briddo eu cyfell, yn y ceufedd,
Yn llenwi 'r fonwent a'u gruddfannau,
A braw briwedig, o'u mewn yn yfig eu mynwefau.
14. Ei holl alarwyr natur rywiog,
Cymrwch bellach gyfur pwyllog,
Gwaith goreu i ni fodloni o'n gwirfodd,
Byth heb os am beth a bafiodd,
Ni ddaw ddim attom yma etto,
O'i gyfyng garchar,
Er mawr allar Môr o wylo,
Pan elo dyn i dy ei hir gartre, yno 'r erys,
Hyd oni ddengys diwedd angeu.
15. Siampl i ni gymryd rhybudd,
Oedd ei wahaniad a'i ddihenydd,

Ni

Ni wyr y Gwŷr a'r synwyr gore,
Yn y byd mo hyd eu hede,
Y rhai sydd heddyw 'n hoyw gryfion,
Geill angeu eu sathru,
Cyn y foru accw 'n feirwon,
Berr yw 'r einioes bâr yw 'r anian,
A meddwl ofer,
Yw rhoddi hyder ar dda hedan.
16. Gŵr oedd Edward gwir ddi rodres,
Gŵr da ei fawl a gair di fales,
Iâch ei ymadrodd, a chymhedrol,
Gwyneb gonest a synhwyrol,
Un llon ysgafn llawen osgo bodlon beunydd,
Heb wŷn aflonydd yn ei flino,
Caredigol i'w gymdogion, gwir ddifyrrwch
A mawr ddiddanwch myrdd o ddynion.
17. Ei oed oedd un arddeg a deugien,
Pan aeth ei gorph i'r ddu Ddaiaren,
Gobeithio a'i rhaid ei ddaioni,
O'r bywyd byrr i'r byd a bery,
Pan ddelo angeu i restio 'r corphyn,
Yno dengys, penyd echrys poen a dychryn,
Ei henw yw Brenhin dychryniadau,
Rhai yma welodd y loesau weithiodd ol ei saethau.
8. Chwi welsoch gellwair yno 'n colli,
Yn troi 'n ochneidion ddwyfron ddifri,
Chwi glywsoch sŵn pob rheswm sein-gar,
Yn du-las gilio 'n adlais galar,
Chwi welsoch foese chware a chwerthin,
Yn drymder meddwl,
Dan wrthddrych cwmmwl erthwch cimmin,
Chwi welsoch ŵr oedd gynne 'n lysti,
A'r ceiliog rhedyn,
Yn bwn a gwydyn boen i'w godi.
19. Wrth hyn ond iawn y gelwir angau,
Drych niweidiol dychryniadau,

A'r

A'r fath anffurfiad tremiad trymma,
Yn ei waith ammwyll, a wnaeth yma,
Byddwn parod i ympirio,
Mewn duwiol fuchedd,
Rhag barn a dialedd erbyn delo,
I ddangos croes ei dduloes ddelw,
Daw 'n gynnar gennad cyfion fwriad cofiwn farw.



## Bedd Argraph.

### XXXV.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| | Wel o hoede | | Ehed | Daiar |
| | 'N Deo | | I gludf | |
| A | | l | | a |
| | dwy afae | | had Ef | |
| | enir ol | | Yno 'r | |

Aethym i'm dirym dŷ oeredd---yn fud,
I fod yn Etifedd,
O'r ddwy-lath âr eiddiledd
Digon o'r byd, gan i 'r bedd.

*Neu 'r Englyn uchod fel hyn.*

Awel o hoedel eheda---Daiar,
A'n Deol i gludfa,
Adwy afael had Efa,
A enir oll yno 'r â.

Crybwylliad i *John Edwards* y prydydd pan oedd ef yn *Llundain* ddyfod adref at ei wraig.

XXXVI.

Awd oe ardd yd oi i ŵ
i a yw od a yw e
Br d th f Br d th f th
au ai awr iw a wy ŷ
aw yw i un io i â



*Neu fel hyn,*

Brawd doeth fardd, Bryd doi i'th fŵth,
Bri da yw'th fod, Brad yw 'th fêth,
Brau daith fawr, Briw adwyth fŷth,
Braw 'dyw i'th fun, Briodi 'th fath.

## Cyfieithiad o bennill Saeſnaeg.

### XXXVII.

DINAS yw 'r byd yma ſydd,
Yn llawn heolydd ceimion,
Angau yw 'r farchnadfa brudd,
Lle 'r ymgyſerſydd dynion,
'Dae 'r bywyd fel marſiandaeth pryn,
I godau dyn i'w gadw,
Byw wnai 'r goludog byth mewn ffawd,
A'r dyn tlawd, gae farw.

## Cerdd ar Charity-Mrs. ychydig hanes Am Gaynor Hughes y fenyw o Landderfel, yr hon ſy 'n gorwedd Ers Pedair blynedd, ac yn byw heb ddim cynhaliaeth.

### XXXVIII.

1. CLYWCH draethod hynod hanes,
Mewn cyffes cân, geill mawr a mân,
Ei gymryd yn athrawiaeth,
Drych o ragluniaeth glân,
Fel y mae Duw 'n rhybuddio,

Yn gwaethio 'n gwadd pob oes a gadd,
I'w cymhell fuddiol foddion,
Arwyddion amryw radd,
Mae rwan wir amlygiad,
O weithrediad, un a thri,
Ei ddysg a'i ddawn, fel llythyr llawn,
Sy 'n Eglur iawn i ni,
Ar fenyw 'n Sir Feirionydd,
Mae 'n dangos arwydd,
I ni 'n siwr; na chlybwyd chwaith,
Fod y fath waith, ar diroedd maith, na dwr.
2. Un Gaynor Hughes,
Yw 'r Ddynes, medd cyffes gwyr
A farnai 'n bur; ei bod ers pedair blynedd,
Yn gorwedd yn ddi gur,
Yn llonydd heb ddim lluniaeth,
Cynhaliaeth dyn, ni fynnai 'r fun,
Ond ymborth oddi uchod,
Da hynod Duw ei hun,
Heb ddim daiarol doraith,
Ond llwyaid unwaith
Yn y dydd; o ddwr glan gwael, faint fwy o fael,
Gan Dduw mae 'n gael yn gudd,
Nid drwy fara 'n unig, hyn sy 'n weledig,
Yn y wlad; mae dyn yn byw,
Ond drwy air Duw, mo'r ryfedd yw ei râd.
3. Mae hon yn wrthrych heddyw, i'n galw ni,
Drwy groyw gri;
I ystyr gair yr Arglwydd,
Bob dydd o'i herwydd hi,
Beth dybiwn i sy 'n cadw y fenyw 'n fyw,
Ond gallu Duw;
Mae ei ryfeddodau 'n amlwg,
I'n golwg, ac ein clyw,
Mae 'n howddgar ei hymadrodd,
Medd rhai a'i clywodd,

Yn rhoi clod; i Dduw 'mhob mann,
Sy yw chadw 'n wann,
Yn unig dan ei nod,
A'i gwaedd a i llef mewn gweddi,
Heb ddiſtewi nos na dydd,
'N cael praw bob pryd, o 'ſprydol ſyd,
Dda ſywyd iddi 'n fudd.
4. Mae cynhyrfiadau yſprydol, a nefol nod,
Diball yn bod; drwy wendid cnawd yn gweithio,
I Dduw egluro ei glod,
Pwy ŵyr ar y ddaiaren, pa ddiben dwys,
Grymmuſol mwys; pa ddirgel waith rhyfeddol,
Gwrddrychiol bywiol bwys,
A ddengys Duw yn eglur,
Ei hunan drwy greadur hon,
Fe allai daw neu fod ger llaw;
Ryw gur a braw, ger bron,
Nid oes un gwrthddrych rhyfedd,
Heb ryw ddialedd brudd o'i ol,
Cyn dangos gwg, drwy dêg fe 'n dŵg,
O n bywyd drwg di r. l.
5. Bod hon a'i bywyd dynol, daiarol ſtâd,
Mewn marwhâd; oddiallan yn ddi allu,
Er hynny mewn parhâd,
Mae 'r anian fyw yſprydol, o nerthol nwy,
'N cynyddu 'n fwy; hon ſydd yn attal ange,
Mawr gledde marwol glwy,
Ond te nid eill y corphyn,
Brau mo'r byw ronyn,
Heb ei raid; er gwledd dwr glan,
Ae ar wahân, i'r lludw mân a'r llaid,
Nid ydyw 'r byd wybodol,
O'i bywyd anfeſurol ſwm,
Ni adwaenom ni mo'i hanaian hi,
Ond y trueni trwm.

6. Mae 'n amlwg wrth ei gwaelder,
Er's llawer dydd,
Mewn cyflwr cudd
Fod Duw drwy wendid etto,
'N perffeithio, nerth i'w ffydd,
Er mwyn amlygu ei hynod ryfeddod fawr,
I ninne 'n awr;
Gwnaeth hon fel llyfr i'n dysgu,
Lle mae 'n 'sgrifenu i lawr,
Mae gallu Duw yn eglur,
Drwy bob Creadur,
Natur nwy; ond gwelwn fod,
O'i nefawl nod, yn hon ryfeddod fwy,
Amhosibl gyda dynion,
Heb faeth o foddion,
Iddi fyw; ond medi heb hau,
A'i glod yn glau,
Wna gweithrediadau Duw.

7. Llaw Dduw sydd yn ei chynnal,
Gan attal nerth,
Peccellau certh,
Gan roi iddi ffrwyth ei winllan,
Heb arian, ac heb werth,
Rhoes lusern am ei chanwyll a didwyll laeth,
Y gair yn faeth;
I'w chadw dros rai dyddiau,
Hyd y pennodau wnaeth,
Pan ddelo i ben ei chyfri, gorfoledd iddi,
Brofi ei braint; mewn hyfryd hedd,
Tu draw i'r bedd,
Cyfurus wledd y faint,
Pob un fydd ei yn gweled,
Mae 'n ddrych agored,
I chwi i gyd: gael golwg gwiw,
A'r wrthiau Duw,
Sy 'n cadw 'r fenyw cyd.

8. Mae bywyd dyn a'i ange, diameu yw,
Bob gradd a rhyw,
Yn llaw yr Hollalluog,
A'r gwir ardderchog Dduw,
Ffon dafl a chareg deneu,
A laddai 'r cawr,
Goleiah i lawr:
Lladd Jonah fu yn ei Grombil,
Nid allai 'r Morfil mawr,
Llau allodd ddifa Herod,
Nid allai 'r llewod,
Oll a'u llu; er newyn hir,
Er cledi clir, ladd Daniel gywir gu,
Dwyn anadl hon o'i gene,
Ni ddichon ange,
A'i faethe fynn: Gwir ganiadtaad,
Y nefawl Dad, a'i ordinhad yw hyn.





# Y TRYDYDD RANN.

## Cywydd i'r Anrhydeddus Arglwydd Frenhin, SIOR Y III. pan goronwyd ac y dyweddwyd ef a'r Frenhines CHARLOTTE y flwyddyn 1761.

I.

FFrwythlon-dir, bro-dir, Brydain,
Cân beraidd, gyſonaidd, ſain,
Mynn fawl têg, mae 'n ſael i ti,
Gyflawniad, gu ſu leni.
Cyfodwyd, ordeinwyd, un
Hŷf lew gwrol ſlaguryn,
O'r anwyl gŷff freiniol gaingc,
Ar ei ſwydd-fawr orſedd-faingc,
Mewn undeb, ffyddlondeb, lawn
Ddi och-lef yn heddychlawn,
Cyflwynwyd, tecca flaenor,
Troediodd fêl, y Trydydd SIOR.
Cymwys i'n Heglwys hoyw-glod,
Iraidd glain roi i Dduw glod,
A fynnodd etto 'n ſwyniant,
I Brutus dir Broteſtant.
Gorfoledd a mowredd mwy,
O rydid cymeradwy,
Iddo gael dyweddi gu,
Dda ddownus i'w ddiddanu,
Dwyſaidd waith dewiſodd un,
CHARLOTTE Frenhines ...

Gangen ireidd-wen dda wraidd,
Gloyw ei mynwes, g'lommenaidd.
Un dda ei gair yn ddi gâs,
I'n gwiw Ethol gyweithas,
Reolaidd Eglwysaidd glod,
Waed anwylaf doe 'n aelod,
Eglwys paradwys Prydain,
Yn ei rhyw 'n un enw a rhain,
Ei synwyr sy ddatseiniad,
Ail aur glŷch i lawer gwlâd,
A'i glendid gloyw-wyn-der,
Mal Rhaiadr sy 'mhelydr sêr.
Lliw eira wawr a lloer wen,
Dirion wiwlwys deyrnwialen,
Pur loyw raen yr Ynys,
Glaer ei lliw 'n goleuo 'r llŷs,
Y jor nâf iach, o'r nef wen,
A lwyddo ein Holewydden,
(Wâr ddiwair fron) werdd ir frig,
Yn nhy Dduw 'n hoywaidd ewig.
Wrth gymmaint ein braint a'n bri,
O'n Brenin sy 'n wobr i ni,
Mae 'n gobaith ar daith wir dég,
Trwy yr un-Duw Tirion-deg,
Am lwydd-fyd pan fo 'mladdfa,
Lewaidd daith dan lywydd da,
Gelynion digalonnant,
O's sai SIOR is Iesu sant,
Brad oer hŷf yw bryd y rhain,
Bwriadu 'n erbyn Brydain,
Codant Ynys y cedyrn,
Lloegr goch ar eu hyll egr gyrn.
Na wnant gweithiant eu gwaethaf,
Duw yw 'n cledd nid dynion clâf,
Bu 'n fagwyr benna fugail,
I'w siwr wir was, SIOR yr ail,

Mae etto 'n fforddio ffydd,
At rwydeb gwaith y trydydd,
Duw Iôr o drysor dy ras,
Dyro dwrn da i'r deyrnas,
Dy gyfraith berffaith burffydd,
Ynglŷn rad a'th fengyl rydd,
Yn eigion bron ein Brenin,
I fod yn well na'i fwyd na'i Win,
Boed ffawd a bywyd ei ffydd,
'Run dwf a'r Brenin Dafydd.
'N da ddyfynnu deddf union,
A barn hardd heb wyrni 'n hon,
Yn hyf yn troi 'r cleddyf clir,
Trwy 'r union at yr anwir,
Yn fur dur i'w frodorion,
Yn Llew gwarr grŷf yn Lloegr gron,
A CHARLOTTE wir gyfurlan,
Ei gu lwys gywely lân,
Mewn cariad bwriad bura,
Bo 'n pennu tyst pob pwynt da,
A'i gair o ddoeth gywir ddawn,
Ar ystlys buchedd raslawn,
Yma etto mae atteg,
I Eglwys Duw wiwglws dêg,
Gyda 'n gwlad i gadw 'n glau,
Dda addoliad ddiddelwau,
Eneinied Duw a nod da,
Yn ddi nam y ddeuddyn yma,
Ag olew gras o glau gred,
Dan y ddoniol adduned,
Yn briodas addas wedd,
Dawn cariad Duw 'n eu cyrredd,
Da iawn happ yn dwyn heppil,
Deulu gwir hâd dilwgr hil,
Etifeddion cyfion cu,
Diwair naws, i deyrnasu,

Yn ffrwythlon blanhigion hâf,
O'r gwin-wydd goreu gwnnaf,
Yn floddeu per a gerir,
Ail i ddail olewydd ir,
Yn cryfhau breichiau ein bro,
Dull addien Duw a'u llwyddo,
Yn fur adail i Frydain,
Goreu rhyw bo gair y rhain.
Cadw i'n gwlad mewn cariad cu,
Dy dda wâs o Dduw Iesu,
'R Brenin SIOR bur union ferch.
Ar ei orfedd ŵr eur-ferch,
A CHARLOTTE mewn oes hir-lawn,
I arfer doeth-der ei dawn,
Rhwydd hynt iddynt i addef,
Y fywiol ffydd grefydd gref,
Yn deg iawn mewn da gynnydd,
Amen, yn faith mae hyn fydd.



# Cywydd marwnad coffadwriaeth am y Parchedig a'r ffyddlon wladwr Mr. *Richard Parry* o *Langollen.*

## II.

AIL yw hyd byrr-fyd bâch,
I wynn farrug neu fyrrach,
Ail yw oes Dyn waela ftâd,
I awr-wydr ar ei rediad,
Yr Ieuangc ar fangc a fu,
A fwrw oll ei friallu,

Gan balliant nwyfiant a nerth,
Beth yw dyn a thw dinerth?
Ede' wan ydyw einioes,
Yr hoyw wr hwya ei oes,
Darfod nesu i'w derfyn,
Mewn byd têg mae bywyd dyn,
Tynnu mae mal tonn y Môr,
O'i Aelwyd, tu a i Elor.
Er Mael nag er Aur melyn,
Er Tir da torrir y dyn,
Er synwyr clos neu air clau,
Na chyngor ni eiriach angau,
Un-gwr ffel o gorpholaeth,
Na Menyw ffri a'i min ffraeth,
Er bod yn darfod bob dydd,
Gwelwn ryw un neu gilydd,
Hyn pan ddaw mae 'n fraw i fron,
Ceir dagrau caredigion,
A mawr gri am oeri gwrês,
Dymuniad waed eu mynwes.
Och! Alaeth mae 'n gaeth y gwyn,
Mae oer och! Mawr yw 'r achwyn,
Och! Am ŵr a chymmeriad,
Anwyl oedd ef yn ei wlad,
Richard Parry henwi hwn,
Ar ei ol i rai welwn,
Sydd brudd-der drymder am dro,
Ddu iawn gur iddyn gario.
Roedd dolef waedd ei deulu,
Yn wasg ddwys dan y wisg ddu,
Parodd alar prudd wylo,
I frest penaethiaid ei fro,
Mae cannoedd yma 'n cynwys,
O'i ol ar dir alar dwys,
Marged ei wraig a'i mowr-gwyn,
Gwewyr maith am ei gŵr mwyn,

Rifiart ei fab a'i rafol,
Aer adawai ar ei ôl,
Awel oerni alarnad,
Braw oedd y' dydd briddo ei dad,
Marged ei ferch draferch drud,
Wcnith-lan a'i chwyn aethlyd,
A'i priod ŵr hoff frawd aeth,
Yn ei herwydd mewn hiraeth,
I Siân ei fam fenn a fu,
Gwayw ludded o'i gladdu,
Mari ei chwaer mor chwerwedd,
Roi brawd byth 'n briod y bedd.
  Och! I rhain oll ei golli,
Awr ddu hallt oeredd oedd hi,
Briw duloes braw a dolur,
Ei weled oedd galed gur,
Yn ei arch yn dywarchen,
Braw i bawb heb air o'i ben.
  Da wladwr diwael ydoedd,
Ac un da i'r gweiniaid oedd,
Uchelwr o wŷch alwad,
Boneddigaidd gloywaidd mewn gwlad,
Da ei glod a'i wybodaeth,
Da 'n ei oes diau a wnaeth,
Da ei gyngor i'w frodorion,
Caredig hwyrfrydig fron,
Da addfwyn, enaid deddfol,
Gwyddai fwm, rhefwm, ei rhol.
  Cymmydog, rhywiog, a rhwydd,
Yn yftyr, ffordd goneftrwydd,
Mewn iawn gred, yn gariadus,
A'i nawdd i roi, yn ddi rus,
Yn ofni Duw ni fynnai dwyll,
Orthymmus, na thro ammwyll,
Ym mhob cwrr, mewn happ cariad,
Yn unol a'i dŷ, 'n anwyl dâd.

Tawelwch,

Tawelwch oedd i'r teulu,
O hyd, trwy ei fywyd, tra fu,
Yn howddgar, lafar ei lef,
Yn ddiddig, yn dda ei ddioddef,
Yn llawen, wen, ei enau,
Areithiwr clir, ieithiwr clau.
Er maint, a fo 'n braint a'n bri,
Er chwennych, mowr-barch i ni,
Dyma ran, mwya ei rinwedd,
Arch o barch, yn rhŷch y bedd,
Er moddion mawr, a meddiant,
A meufydd, ar gynnydd, gant,
'N fydyn, y dyn, ofodir,
Yn llwyd iawn, mewn llai o dir.
Y dyn, fydd wedi eni,
Yma o wraig, nid mawr ri;
Yw ddyddie ei oes, foes, ferr
'Nafus, helbulon ofer,
Pe bae rymmus, nwyfus, nerth
Yn grwn-fawr, yn gawr anferth,
Pe meddai fyd, a modd fawr,
A hwn ymmaith, cyn nemmawr,
Mor huddol, yw anrhydedd,
A'r oes bâch, yn nrŵs y bedd.
Och! 'madel, a chymmydog,
I dŷ o glai, dan dêw glôg,
Daiaren, Llangollen, gwys,
Aml gyrph, i'w ymyl gorphwys,
Gyda'i gu deulu dilŷth,
Mintai fawr, mae yntef fyth.
Rhoi ffarwel, i'w gorph euraid
Hynawfaidd ryw, hyn fydd raid,
Ni wiw wylo, awelon,
O drymder, neu brudd-der bron
Mae i ninnau, 'mhen ennyd,
Byrth i'r bedd, o barthau 'r byd,

Yn feirw fud, fe 'n Symmudir,
Ar ein taith, i'r un hynt hir.
  Cofiwn, fod ar ein cyfer,
Fyd dros fyd, wedi 'r oes ferr,
Mae bywyd, gwynfyd, i'w gael,
Rhag gwall gyfyng, gwell gafael,
Yn y ftât hon, yftod hir
Wedi 'r boen, y derbynnir,
Yr enaid, i wir einioes,
Ddiwair hâd, at Dduw a'i rhoes.
  Oferedd, waeledd, wylo
Yn ben brudd, am neb o'n brô,
Tewi Sôn, a bodloni
Duw 'n ddilys, boed d'wllys, di
Dweudyd, os colled ydoedd
Duw i ni wnaeth, da iawn oedd.
  Cymrwch, ymgeifiwch, gyfur
Mewn nawdd pwyll, amynedd pur,
Rhodio 'r byd, mae 'n rhaid i'r byw
'N rhyddion, tra pery heddyw,
Oes ddaiarol, fy ddi-rym,
Foru roir, i feiiw 'r ŷm,
Nid yw hyn, wedi ei nau,
O gnawdol, wan ganiadau,
Ond egwan ffurf, yn goffaad,
O'i ddyddiau, a'i ddiweddiad,
Gobeithio fod, byth ei fawl,
Draw o'n gwydd, yn dragwyddawl,
Dan afael gu, nefol gôr,
Paradwys, braint priodor.
  Mewn gair yn fyrr, gywir fodd,
Ei oedran, i'w iawn adrodd,
A rifir, heb orafun
Chwitha gwaith, chwe wyth ag un.
  Oed Iefu cu, d'wyfog hedd,
Ddydd ei arwyl, i orwedd,

Y rhif un, mi rhôf unwaith,
Atto rhôf swm, tri rhif saith,
Duw dad anwyl, dod i ni,
Hawl urddas, dy deyrnas di
'N henaid, wedi 'r corph huno,
Amen byth, mae yno bo.



## Cywydd i ofyn Pais, yr hon a eilw 'r sais, Coat, gan y parchedig Mr. *Pyẃ* o'r Tŷ Gwynn yn Iâl: I *Elis Wynne* dyn Tlawd yn byw wrth *Wrexham*.

III.

ANTURIAF a gyrraf gân,
Gymreig-waith, O mor egwan!
I'r Tŷ Gwynn at ŵr têg wawr,
Rhwydd-fwyn bendefyg rhodd-fawr,
Pyw yw efe, pwy o'i fath,
Tumpan Aur ar y Twmpath,
Dysgydd mydrwaith dewis-gerdd,
Da iawn gais, a edwyn gerdd,
Di gymmar yw, da gymraeg,
Ni fritha enw 'r frythonaeg,
Ni wna mor cam ar Fam-iaith,
Riddyn yw, am wreiddin Iaith.
Mawr yw eich clod gan dlodion,
Dan alwad da 'n y wlad hon,
Y rhai'n a chwardd arnoch chwi.
Deg wên am eu digoni,
Mwys gwaredd ymysg gwerin,
At heddwch trowch hawdd eich trin,

Bonedd drwy ferch a'ch perchant } yn Offeiriad.
Yn wâs i fwydd Iefu fant.
Dros ddynan' lledwan llwyd-wedd,
Uchel waed a chul ei wedd,
Rwi 'n anfon ger bron eich breft,
Am fwy mael mae fy moleft,
A nyfais pais rwi 'n ofyn,
Liwus wawr i Elis Wynn,
Dilladog diwall ydych,
Cofiwch edrychwch y drŷch,
Boed amlwg i'r neb a deimla,
Llwm yw dyn ond lle mae dâ,
E ddaeth hwn o ddoeth hynod,
Foneddigion clydion eu clôd,
Twnniaid euraid gnawd iraidd,
Dedwydd wryfg ydoedd ei wraidd,
O'r gwenith gwyn 'r aeth gwannyd,
Tlodion o bigion y byd,
Gwynn dlws yw ei genedl ef,
Anrhydeddus rhaid addef,
Peidiaf ni phòenaf goffau
Yma i chwi mo'i achau,
Gwaed gwych ond gwrthddrych gorthrwm,
Grefyn fod yn llipryn llwm,
Pla i'r Iarll, o'r plu eur-lliw,
Wynn welw aeth, yn wan ei liw,
Ond pluen o'ch aden chwi,
Yn ei liw a wnae'i loywi.
Pe cae fippog wlanog lew,
A lled-trom rhag iâs llwyd-rhew,
Rhyw hugan glydd rhag y glaw,
'Does heddwch nes ei haddaw,
I chwi am dani bob dydd,
Rhed y glod 'r hyd y gwledydd.
Ni wiw cyfri profi pris,
Y gaffaeliad geiff Elis,

Dyma 'r tâl ſâl ei ſylwedd,
Arian ar fŷs aur ni fedd,
Diolch pur ar bapurun,
Can an hôff clôff o bob clun,
Can dan fai cyndyn a fydd,
Ffraethineb ffrwyth awenydd,
Ond trafael hynt o ryſyg,
Rhoi fothach gwaccach na gwyg,
I byw rwydd-lan bereidd-lais,
A'u hoffrwm fel patrwm pais.
Wel dyna wlan y deunydd,
Pwy bynnag heb nag a'i nydd,
Ceiſiwch ryw nydd-wraig gyſon,
Iawn dda hwyl i nyddu hon,
Gwŷdd ſoniaf gweddus hynny,
A Phannwr, Tailiwr i'r Tŷ,
Ac yno ni ofer genais,
Gau ffals bwngc ceiff Elis bais.
Llwyddiant ar eich holl eiddo,
Ar gynnydd beunydd y bo,
Na fo fe lai, o ſlewyn,
Mwy tŵ geiff yn y Tŷ Gwynn,
Bendith ri 'r gwlith ar y gwlan,
Gwirlwydd ar Braidd y gorlan,
Wyn ar eu hôl yn 'rhewlydd,
Ar wndwn, fyrddiwn, a fydd,
Mi wnes, y llês, ellais i,
Fel mae nhalent yn holi,
Bellach rwyf ar balliant,
Gyrraf chwi garw yw fy chwant,
Y mawr bwn eiff, ar ben iach,
Y Prelad pwy wrolach,
Tynnu 'r gwan druan o'i drwch,
Mewn gwall mi wn y gellwch,
Cyſtal i hwn a hen-aur,
Gnu pais dew gan y poſt aur,

Bl...

Rhagor ni chewch o'm rhigwm,
Ond hyn raid roi er cloi 'r clwm,
Pais am y Cywydd peiſwyn,
O leſaad i Elis Wynn.



## Cywydd gweledigaeth y Creaduriaid, ſef y Llwynog y March a'r Dylluan.

### IV.

A'M fi 'n canfod, wrth rodio,
Ar fryn, mewn dieithr fro,
Le cymmwys, i orphwys awr,
Anturiais, huno teir-awr,
Ac yn fy hun, cyntun caeth,
Dygwyd, i'm weledigaeth.
Mi 'm gwelwn, fel mewn gwaelod
Dyffryn dwl, meddwl fy mód,
Dyffryn a Phrennau diffrwyth,
Ceimion, a phrinnion o ffrwyth.
Ac yn ol hyn, gwelwn haid
Erwin, o greaduriaid,
Llawer o rhai'n, yn Llewod,
Grymmuſol, a nerthol nod,
Rhai 'n Eirth, yn rhuo 'n wrthun,
Yn oer eu llais, yn arw eu llun,
Roedd Bwyſtfilod, gwaelod, gwaeth
Llu egr ffel, llai gorpholaeth,
Mal cŵn, debygwn, eu bod
Llawn o ŵg, yn llwynogod.
Gwelwn Feirch, rhai 'n gulion fan,
Hefyd, a rhai 'n gyhwfan,

'N gaethion glos, yn gweithio 'n glau,
'N dynn eu poen, dan eu pynnau,
Ymbell Farch, dihafarch, hŷf
Cyfan-groen, uchel cefn-gryf,
Rhai bob math, ymbell Gâthan
Merlynod, a Mulod mân.
Mynnwn olwg, manylach
Mwy ar bwys, y mawr a'r bâch,
Beth oedd clud, eu caled-waith,
Eu pynnau mawr, a'u poen maith,
Traul y Meirch, trwy lym orchwyl
Yma rioed, heb nemmawr ŵyl,
Cludo, 'fglyfaeth i faethu,
Llwynogod, Llewod, a'u llu.
Rhyw fwrdwn, clywn ar fyrder,
Dial hyll, a dala herr,
Uchel barl, am well arlwy,
Ymladd mawr, am leoedd mwy,
A llawn ŵg, y Llew a wnaeth,
Foes glaf, am fwy o 'fglyfaeth,
A'r March ydoedd, mor chwidir,
A'i ofid am, fwy o dir,
A'r Llwynog, yn ŵr llonydd,
Heb fon, ond gwrando be fydd,
Gwyddai mae 'r Llew, crêf ewin
Feiftrolai 'r March o's troe 'r min,
Gwnae 'r llamffwrch, llafn-dwrch, llyfn-dew
Ynghwrr llwyn, gynhori 'r Llew,
Codi o'i wâl, mewn malais
Ffraeth ei ffroen, mal oen ei lais,
Y Llewod, hynod, heini
Dowch yn nes, a gwrandewch ni,
O's gwylofain, am yfglyfaeth,
Yr ŷch chwi 'n gul, a chwyn gaeth,
Rhodiwch, yn fwy rhuadwy,
A'ch hwyl fawr, cewch elw fwy.

Beth a wnawn, i gael llawn lles?
Ebr rhyw Lew, hir ei lawes
Ebr Madun, dafod mwdarch,
Pynorio mwy, wneir ar y March.
Wedi hyn, aeth yn gryn gri
A llawn arch, y Llew 'n erchi,
Tynhau 'r cenglau, 'mhob conglydd,
'S oedd pilyn a rhwymyn rhydd
Pynorio, pwnnio 'n arwach,
Rhoi Plwm, gryn fwm, yn y fach,
Gyrru mhell, a fflangellu,
Barrog dro, 'n taro bob tu.
Clywn ddolef, oer fref, ar frŷs,
Tôn y Meirch, tan eu mowr-chwŷs,
'Larwm, fal wrth Elorau,
Yn nydd cyrph, newydd eu cau,
Rhai'n cwynfan, a rhengc anferth,
Go' bell yn ol, gan ball nerth,
Y blaen a'r ol, blin o'r iau,
A'r wafg oedd, ar eu fgwyddau.
Er hyn ceirch, mynnai 'r Meirch, mawr
Happus-fyd, er pwn pwys-fawr,
Y rhai bychain, druain, draw
Oedd fwya dirym, i'm daraw,
Y cadarn-feirch Eleirch oedd,
'N medru ffroenio, 'r dyffrynnoedd,
Yn llawn dynn, mewn meillion da,
'N ffyrfion, gan wair a phorfa,
Ni 'dawai rhain, dir rhydd,
I'r Da man, ond y Mynydd,
'Chae ferlyn och gan fowr-lwngc,
Y lleill, oedd gymmaint eu llwngc,
Ond Tir gweynydd, tua 'r gwanwyn,
Pen talar, branar a brwyn,
'Chae Ful bach, afael i'w ben,
Dammaid, ond gwellt y dommen,

B b

Dyna, 'r truana, triniaeth,
A welwn i oll, wael iawn aeth,
Roedd pynnau rhai'n, a'u penyd,
Mor gaeth, a rhai mwya i gyd,
Rhai am orwedd, rhwym erwin,
A'u bonau 'n glai, hyd ben glin,
Un a gogwydd, yn gwegian,
'Llall yn ôl, a'i allu 'n wann,
Ar rai 'mhob mann, roedd anrhefn,
Ymbell, un candrell, ei cefn,
Flew hir-ſyth, ſal i'w harſwyd,
A'u 'ſennau mal cledrau, clwyd.
Greſynnais, ryw gwrs ennyd,
Wrth bwys, a rhagoriaeth byd,
Y rhai man ſal, 'r ŷm ŷn ſòn;
A dewr-feirch, iraidd dyrfion,
Mwy na'u rhann, mynnai rheini,
Eu daſau brâſ, ſy heb ri,
Ymhyrddu, 'n gam eu hurddàs,
I'r doldir, a'r glynn-dir, glâs,
Gan un, roedd digon i naw,
Tair gwinllan, tan 'r un ganllaw,
A thri-maes, yn ſathr-ammarch,
Yn grwn i mewn, gan 'r un March,
Tynnu Erw, at un arall,
I ynnill lle, 'r naill y llall.
Wrth athrylith, nerth rhy-lèw,
O's chwannog, Llwynog, a Llew
Chwantus, ydyw 'r March yntau,
Mor ddyfn, a'r mwya o'r ddau.
Rhy ferr rhy fach, i'w achos,
Oedd y Ddaiar, glaiar, glos,
Fe wnae udiad, ofnadwy
Eiſiau bod maes, a byd mwy.
Tra, min nos, er dangos, dig
E[illegible] diſodd, draw o'r goedwig,

Heden gôch, ananad gan,
Dwrdio 'r Llew, doe 'r Ddylluan,
A'i holion, iddo 'n helaeth,
Yrrai ar ffrŵſt, eiriau ffraeth;
Dweud i'r Llew, di 'dyw 'r llywydd
Cymmer dy le, mawr dy lwydd,
Ond pam, yn dy ddinam, ddydd
Mae 'r llywodraeth, mor lled-rydd?
Pa wêdd, mae camwedd, cymmaint
Hyd y fro, lle mae dy fraint?
  Tir da fynn, y tordyn Feirch,
Dyma arfer, y mor-feirch
Y cawr mawr, llwngc y rhai mân,
Geir i'w bachau, gwae 'r bychan,
Yr un modd, o ran mediant
Y mae 'r Meirch hyn, a'u mawr chwant.
  Y Llwynog, cynffonnog, ffel
Ddaiar-gi, a ddoe 'n ddirgel,
Eger naws, agor a wnaeth,
'Th lygad, di a'th hiliogaeth,
Ond llygad, 'drychiad, o drais
Agorai fel, garw falais,
Mae llygad arall, dall, dwl
A di fudd, yn dy feddwl
Goreu llygad, i gadarn
Trugaredd, buredd a barn,
Gwell heb lygad, bwriad bar,
Efo naws drwg, fo 'n 'ſtrywgar,
Ail agor, oleu lygad
'Styriaeth wlith, toſturi 'th wlad.
Dweudai 'r Llew, da 'r Dylluan,
Cynghoreſt, mewn goneſt, gan
Y bwgan bo, big a bach,
Gwrwm hyll, gyrr ym mhellach.
  Etto 'r Llew, o's gwrandewi,
Gogan fawr, gei gennyf fi,

Gwelais fod, y llywodraeth,
Drwy 'r dyffryn hwn, gwn, yn gaeth;
Gwelais y Meirch, gloyw-feirch, glan,
'N marchogaeth, y Meirch egwan
Deffro, yn llawr y dyffryn,
A llunia hwyl, well na hyn
I'r man Adar, darparwyd,
Fintai fawr, ryw faint o fwyd.
Pob crachen, darren, o dir
At gae mawr, a gymmerir,
Gan Meirch mawr, eurwawr arwydd,
'Cheiff byrr fo gwan, borfa gwydd
Ceisio rhann, cwys y rheini
Haws, ceit caws, o gutt y ci.
Rwyt tithau 'r Llew, llyfndew, llonn
A'th fud-lais, yn frith fodlon,
Os cei o hyd, waeth byd, pwy
Grŵth hir-lwth, gario 'th arlwy,
Drwy 'r dyffryn hwn, fi wn, fod
Dewr-der, dy fawr awdurdod,
Attal bob trais, a'th llais, llym
A dyro beth i'r di rym,
Diwallu rhai'n di elli
Pwy mwy teg, pei mynnit ti?
Pwy gryfach, hyfach, hefyd?
Hir dy fraich, o rhoi dy fryd,
Lle cydiodd, y llu cadarn,
Erw at faes, ow! na roit farn.
Dwyn pynnau, dan eu penyd,
Mae 'r Meirch bach, ammarch y byd,
Ochain fyth, ow! na chaen fwyd,
Llym esgyrn, lle i ymysgwyd,
O trigant, 'cheit ond drygair
Ac er'ill, a gweddill, gwair.
'Nghrôg bo 'r lleuog, Ddylluan,
Ferch mul, efo dy Feirch man,

Gyw di nerth, geden wrthun,
Fentri di 'r Llew, 'r futtra'i llun,
Mae 'th aden, efo thydi,
Gewai doeth, ond te gwae di
Coeg-wawd, ewinedd cigwain,
Reibus ei chêg, a'r bais chwain,
Rodres-gwch, mewn dyrys-goed,
Ben cath, bawa yn y coed.
Raid 'mi, eroti, roi taith,
A mawr chwalu 'r Meirch eilwaith,
Dwyn oddiar un, dyna ddrwg,
Lleill i'w gael, daw hyll gilwg,
Y Cowri mawr, y ceir mwy
Rhannaf i, rheini fwy-fwy,
Gwneud gwan a' chrŷ, fry, 'r un fraint,
Unioni 'r cam, ni wneir cymmaint,
'N heddychol, fi ni ddichon,
Mo waftadhau, 'r yftât hon.
Gwaftadhau, rhannau, rheini
Oll yn deg, ni elli di,
Ond mae lle, da i wellhau,
Byd ifel, heb fod eifiau,
Rho i waelion, y rhelyw
Di elli gael, 'n well nag yw.
Y cae cam, accw cymmer,
Dôl y rhaib, ac erw dal herr,
A'r tir trais, torr y trefi,
A gydwyd wrth, dy gae di
Maes braich hir, tir, y taerion
Dôl budr elwa, henwa hon
'Parc cyrraedd, bu Huw Corryn,
'Sian biccyn hefb, 'n byw cyn hyn,
Dyna 'r gwir, y rhan-dir, hwn
I dda mân, a ddymmunwn.
Eber y Llew, yn bur llon,
Di heliaift, haid o holion,

Gwers hir a geiriau o swm,
Ni 'th rhusaf, yn iaith rheswm,
Pe rhoesai ryw, gyw, go gall
Aderyn, o waed arall,
Dirnad hyn, Aderyn tô,
Mewn urddas, mi wnawn erddo,
Rhyw dderyn, o rhoe ddyri,
O dlawd walch, yn dy le di.
Pe'i cofiai 'r Llew, croen-dew, cry
A henwais, clywaist hynny,
Gan Adar ereill, cyfeillgar,
I ti lŵth gêst, lu a'th gâr,
Mae gwraidd a had, y gerdd hon,
Er doe, gan 'r Adar duon,
A'u profiad, holiad, heleth
O ran y pwngc, sy 'r un peth
Ond bod eu sain, gywrain, gu
Cynnes, yn swynach canu.
Clywaist, y rhain, clust yr hŵch,
A'u cwyn wrthit, can erthwch,
Gwae, gydio gae, gyda gwall
O warth erwin, wrth arall,
Gan ddweud, am it wneud, yn ol
Union rywiog, iawn reol
Edliwiânt, i wlad lywydd,
Na wnêl farn annuwiol fydd.
A dwysach, y dweudasant
Rhoi at hyn wir, etto wnant
Clorian 'n gŵyrol, fantoli
Ffieiddian o'th, feddiant di
Clau arwydd, ydyw clorian
A gwrth-ddrych, rhwng gwych a gwan
Llywodraeth, rhag twyll hy-drais,
Er dal trefn, a dial trais
Clorian, o's yw 'n anghywir,
Chwareu têg ni cheir yn tir.

Dweudasant, ni wadant, wedyn
Ar sywiol hwyl, air fel hyn,
Y mesur, y mesuri
Fydd siwr o d'ail, fesur di;
Mae ammod, rhwym llywodraeth
I wneud yn well, nid yn waeth,
Uniawn farn, pan fo wyrni,
Siwr yw hyn, y casheir hi.
Yn Iach Lew, oni chlywaist
Hyn oll, beth bynnag a wnaist,
O clywaist hyn, clywaist hau,
Fellu sŵn, fy llais innau.
Rhwng milyn, a milyn, mae
'S wyt drin-gar, osod rhan-gae,
Digon i'r cry, fy, er i'r fal,
Llwm gwan, gael lle i mgynnal,
At gry-farch, pe'i troe dy grafangc,
Mynnit wair er maint ei wangc,
Dippyn i'r Merlyn, a'r Mul
A'r mein-gorph, Farch rhummen-gul
Ni 'myrrai 'r Llew, mor llawer
Gwedi hyn i gadw herr,
Ffarwel hyll gyw, ffrewyll gân,
Ffarwel i'r Llew, rhoe 'r Ddylluan,
Wedi caffael, eu cyffes,
Yn dyffryn oer, deffro wnes
Och feddwl, ni chanfyddwn,
Na Llew iawn hŷf, na llun hwn,
'Deryn du, na Dylluan,
Yno na Meirch, yn un man,
Na Llwynog, drygio, ei drais
O 'nisgwyliad, nis gwelais
Holl doraith, fy mlinderoedd,
Wele breuddwyd, ynfyd oedd.

*D I W E DD.*

